Yna y Gwenidawc, yr yscoleicion a'r bobl a ddywedant weddi yr Arglwydd yn Camberacc a llenerydd vchel.

Eyn tad yr hwn wyt yn y nefoedd. &c.

Yna y Gwenidawc yn ei sefyll a ddywaid.

Arglwydd dangos dy drugaredd arnom.

Atteb.

A' chaniatha y ni dy iechydwrieth.

Offeiriat.

Arglwydd cadw y Vrenhines.

Atteb.

A' gwrando ni yn drugaroc pan alwom arnat.

Offeiriat.

Gwisc dy Weinidocion ac iawnder.

Atteb.

A' gwna dy ddywisawl bobl yn llawen.

Offeiriat.

Arglwydd cadw dy bobl.

Atteb.

A' bendithia dy' tiueddiaeth.

Offeiriat.

Arglwydd dyro dangnedyf yn eyn dyddiau.

Atteb.

Can nad oes neb arall a' ymladd trosom, amyn tidi Dduw yn vnic.

Offeiriat.

Duw glanha eyn calonau ynom.

Atteb.

Ac na chymer dy yspryt glan o ddywrthym.

Yna y canlyn tri Collecte. Y cynta or dydd, rhwn a vydd yr vn ac y appointir ar y Cymmyn. Yr ail, dros dangneddyf. Y trydydd, dros rad y vyw yn dda. A'r ddau collect ddywethaf ni chyfnewidir byth, ond ei dywedyt beunydd ar vorae weddi, trwy'r oll vlwyddyn, mal y canlyn.

Yr ail Collect dros dangneddyf.

DUw, yr hwn wyt Awdur tangneddyf, a' charwr cyntundeb, yrhwn oth iawn adnabot y mae yn buchedd tragywydd yn sefyll arnaw, ath wasanaeth yw gwir vraint: amddeffen nyni dy ostyngedic weision, rhac

oll ruthrae yn gelynion: yd pan allom trwy gwbwl ymddiriet yn dy amddeffen di, nac ofnom allu neb gwrthnebwyr: trwy gedernid Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

Y trydydd Collect tros gael rat.

ARglwydd nefawl dad, oll-alluawc a' thragywyddawl Dduw, yr hwn an cedwaist yn ddiangol yd dechrau yr dydd heddiw, amddeffen nyni yndaw ath gadarn allu, a' chaniatha na syrthiom y dydd hwn mewn vn pechot, ac nad elom mewn neb ryw perigl: yn y bo eyn oll weithredoedd wedi ei trefnu ai llywyaw wrth dy lywodraeth, i wneuthyr yn oystat y peth y sydd gyfiawn yn dy olwc di, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

Y drefn

yll lad yr hwn

Yr Offeiriat a ddyweit.

**Eyn tad yr hwn wyt yn y nefoedd. &c.**

Ac ef yn yr vn ffynyt a ddyweit.

**Arglwydd egor eyn gwefusau.**

Ateb.

**A'n geneu a veneic dy voliant.**

Offeiriat.

**Duw brysia in cannorthwyaw.**

Ateb.

**Arglwydd * prysura in kymorth.**

* ffrystia.

Offeiriat.

Gogoniant ir tad, a' mab, a'r yspryt glan.
Megis ydd oedd yn y dechrau, y mae yrawrhon, yn wastad ac yn oes oesoedd. Amen.
Molwch yr Arglwydd.

Y na y Psalmae: mewn trefn megis ir appoyntiwyd hwy yn y Tabul y Psalmae, o ddieithr bod psalmae priawd wedi apoyntio ir dydd hwnw. Y na llith or hen * ddedyf, megis ac ir apoyntiet hefyt yn y Kalendar, o ddieithr bod llithiau priawt wedir apointio ir dydd hwnnw. Y nol hynny, Magnificat in Camberaec, megis i canlyn.

* testament.

Magnificat. Luke. i.

* ostyngeidrwydd ei lawforwyn.

VY enait a vawrha yr Arglwedd: a'm yspryt ysydd hyfryt yn-Duw vy Iachawdr.
Canys ef a edrychawdd ar *iselder ei wasanaethwraic.
Oblegit wele, o hyn allan: yr oll genedlaethau a'in galwant yn wynvydedic.
Erwydd yr hwn sydd alluawc, a'wnaeth i mi vawredd: a'santawl yw i Enw ef.
Ai drugaredd y sydd yn oes oesoedd: ar y sawl ai ofnant ef.
Ef a ddangosawdd nerth ai vraych: ef a wyscarawdd y beilchion ym-bwriadau ei calonau.
E dynawdd i lawr y cedyrn oi eisteddfaeu, ac a ddarchafawdd yr hai iselradd.

Ef a lanwodd yrhai ne-wynoc a phethau da, ac a ddanuonawdd ymaith yrhai goludawc mewn eisiau.

Ef a ganorthwyawdd ei was Israel, * gan gofio am ei drugaredd, megis y dywedawdd in tadeu sef i Abraham, ac yw * had yn dragywydd.

Gogoniant ir Tad, ac ir Mab, ac yr yspryt glan.

Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awrhon. &c.

* wrth veddwl.

* ohelyth, hiliogeth, eppil, &c.

Ai yntau y Psalm a ganlyn.

Cantate Domino. Psalm. xcviii.

Cenwch ir Arglwydd ganiad newydd, canys gwnaeth ef ryfeddodion: ei ddeheulaw ie hunan ai sant awl vraych a barawdd yddaw yr oruchauiaeth.

Yr Arglwydd a egluraẃdd ei iechydwrieth: ei gyfiawnder a ddangosawdd ef yngolwc y Cenedloedd.

Ef a * goffaodd i drugaredd a' gwirioned * er ty Israel: ac oll derfynau y ddaiar a welsant iechydwrieth eyn Duw.

Yr oll ddaear cenwch yn llauar ir Arglwydd: ac ymlawenhewch a' * chan-molwch.

Cenwch * psalmau ir Arglwydd ar y delyn, sef ar y delyn a llef * caniad.

Ar drumpiae ac vtcyrn: cenwch yn llauar yn-gwydd yr Arglwydd brenhin.

* Dadurdded y Mor, a' chymeint ac y sydd yntho: * cylchedd y ddaiar, ac a breswyliant ynthei.

Curet y llifddyvredd ei dwylaw: a' chyd neidied y mynyddedd o lewenydd gar bron yr Arglwydd: canys ef a ddaeth y barnu y ddaiar.

A' chyfiawnder y barn ef y byd, a'r bobul ac vnionder.

Gogoniant ir Tad, ac ir Mab, ac ir yspryt glan.

Megis yddoedd yn y dechrau. &c.

* goffodd.

* ynghyfair, tu ac at.

* diolchwch

* voliant.

* psalm.

* Kued.

* y byd.

Y na Llith or * ddeddf newydd. Ac yn ol hynny, Nunc dimittis yn Camberaec, megis y canlyn.

* testament.

*Luc. ii.*

YR awrhon Arglwydd y gellyngy dy was mewn tangneddyf: herwydd dy'air.

Canys vy llygeit a welsant dy iechydwriaeth.

Yrhwn a baratoeist, gar bron wyneb yr oll bobl.

I fod yn oleuni i oleuo y cenedloedd: ac yn'ogoniant ith bobl Israel.

Gogoniant ir Tad, a'r Mab, a'r yspryt glan.

Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awrhon, &c.

Neu'r Psalm hon.

*Deus misereatur. Psa. lxvii.*

DUw a drugarhao wrthym, ac an bendithio: a'thywynet lewych ei wyneb arnom, a'thrigaraed wrthym. Selah.

Mal ir adwaener dy ffordd ar y ddaiar, ath iechydwriaeth ymhlith yr holl genedloedd,

Molent y pobloedd dydi Dduw: molent dydi yr oll bobloedd.

Llawenhaed y bobloedd a' byddan hyfryd: canys ti a verni y bobl yn gyviawn, ac a lywodraethy y cenedloedd ar y ddaiar. Selah.

Molent dydi y bobloedd Dduw: molent tydi yr oll bobloedd.

Yno y dyry y ddaiar ei ffrwyth, a'Duw'sef eyn Duw ni a'n bendithia.

Duw a'n bendithia, a' holl terfynau'r ddaiar ai hofnant ef.

Gogoniant y'r Tad, a'r Mab, a'r yspryt glan.

Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awrhon ac y bydd yn oystat yn oes oesoedd. Amen.

Yna y canlyn y Credo, a' gweddieu eraill, megis yr appoyntiwit ymblaen ar y borauweddi, ar ol Ac a thri Collect. Yn gyntaf or dydd. Yr ail, o Dagnefedd. Y trydydd, dros ganhorthwy yn erbyn pob pericul, mal y canlyn yma rhacllaw. A' dau or Collectae dywethaf a ddywedir bob dydd ar byrnhawn weddi, eb gifnewit.

Yr ail Collect ar byrnhawn weddi.

DUw, o ddiwrth ba vn y daw pob addunet sanctaidd, pob cyngor da, a' phob gweithred gyuiawn, Dyro ith wasaneth-ddynion y rhyw dangneddyf ar na ddychon y byd i roddi, modd y gallo eyn calonau ymroi i vfyddhau ith orchmynion, a' thrwy dy amddeffyniad i ni rhac ofn yn gelynion, allu o hanom drevlio eyn amser mewn heddwch a' thangneddyf drwy * haeddedigaethau Iesu Christ eyn Iachawdr. Amen.

* obryn

Y trydydd Collect am gynorthwy yn erbyn oll periculeu.

LLewycha eyn tywyllwch ni atolygwn yt, Arglwydd, a' thrwy dy vawr drugaredd amddeffen nyni rhac pob pericul ac enbydrwydd y nos hon, er serch ar dy vn mab ein Iachawdr Iesu Christ. Amen.

Ar ddie natalic Christ, die gwyl ystwyll, dydd gwyl Mathias, dydd Pasc, y * dyrchafael, y Sul gwyn, dyddgwyl Ioan vedyddiwr, Sanct Iaco, Sanct Bartholomeus, Sanct Mathew, Sanct Simon ac Iud, sanct Andreas, a Sul y Trindot: y cenir neu y dywedir yn nesaf vn at benedictus, y cyffes neir addcfiat hyn o'r ffydd Christianus.

* Carchafael.

PWy bynac a fyno vod yn gatwedic: o vlaen dim, rhaid iddo gynnal y ffydd * Catholic.

Yr hon ffydd, a ny cheidw pop dyn yn gyfan ac yn * ddihaloc: diogel y collir yn tragywyth.

A'r ffydd catholic yw hon: * bot y ni addoli vn Dew yn trindod, a'r trindod yn vndot.

Nyd cymyscy o honam y personeu: na gohany y * sylwedd.

Quicunque vult. * gyffredin. * ddilwgr. * sef. * hanfod.

Canys vn person, syd ir tad, ar all ir mab: ar all yr yspryt glan.

Eithr * Duwdot y Tad, y Mab, a'r yspryt glan, sydd vnrryw: gogoniant gogyfuwch, mawrhydi gogyd tragywydawl.

* dywolliaeth.

Unryw a'r Tad, vnryw yw'r Mab: vnryw yw'r yspryt glan.

* Dicre-etic Dat, dicre-edic Mab: dicre-edic yspryt glan.

* Anwnethuredic

Anmesuredic Dat, anmesuredic Map, anmesuredic yspryt glan.

* Tra-

* Tragywyddawl Dat, tragywyddawl Map: tragywyddawl yspryt glan.

Ac etwa nid ynt tri tragwyddolion: amyn un * tragwyddawl.

Ac mal nad ynt tri anmesuredigion, na thri dicre-edicion: amyn un dicre-edic, ac un * anmesuredic.

Velly yn gyffelyp, hollgyuoethoc Dat, hollgyuoethoc Map: holl gyuoethoc yspryt glan.

Ac eto nyd ynt tri hollgyuoethogion: amyn un hollgyuoethawc.

Velly * ys Dyw tad, ys Dyw vap: ys dyw yspryt glan.

Eithr nid tri Dywieu: namyn un Duw ys ydd.

Velly ys Arglwydd Dat, ys Arglwydd vap: ys Arglwydd yspryt glan.

A' hagen nyd ynt tri Arglwyddi: namyn un Arglwydd.

Canys mal ein cympellir trwy * christian wirionedd: y * gyfaddef bot pop person yn * ohanredol yn Dduw ac yn Arglwydd.

Velly ein goherddir trwy y Catholic * Gred-ddedyf: dywedyt, bod tri Dewieu nei tri Arglwyddi.

Y tad ny wnaethpwyt * gan neb: ny's crewyt, ac nys * cenedlwyt.

Y Map ys ydd or Tad yn unic: eb i wneuthur, na ei greay, eithr wedy ei * genedlu.

Yr yspryt glan ys ydd or Tad a'r Map: eb eu wneuthyr, na ei greau, na ei genedlu, eithr yn * deilliaw.

With hyny un Tad ys ydd, nid tri * thaid, un map, nid tri meip: un yspryt glan, nid tri ysprytion glan.

Ac yn y trintot hyn, nid oes * un cynt ne gwedy eu gylydd: nid oes un mwy na llai no'u gilydd.

Eithyr yr oll tri phersoneu: ynt gogydtragwyddawl a'gogyfuwch.

Ac velly ym pop peth val y dywetpwyt uchod: yr undot yn y trindot, a'r Trindot yn yr undot, sydd * y'w addoli.

Pwy bynnac can hynny a uynn bot yn gatwedic: * synied velly or trintot.

Y mae heuyt, yn angenraid er mwyn tragywyddawl iechyt: credu o ddyn yn ffyddlawn * am gnawdoliaeth ein Arglwydd Jesu Christ.

Canys yr iawn ffydd yw, credu * a' chyffessu o honam: bod ein Arglwydd Jesu Christ vap Duw, yn Ddew, ac yn ddyn.

Dew, o * sylwedd y tad, wedy ei * genedlu cyn nac oesoedd:

Marginal notes: * tragywyddawl, * diuesur. * Duw yw r. &c. * ffydd ne greddyf Christ. * gyffesu * wrth y hun, or neilltu. * creddyf neu credydd. * trwy * enillwyt ganet * enill, gael * dyuot * thade * dim cynt na hwyrach dim. &c. * yddy * barnet, ne credet. * yn, ne bod * ac addef * hanhod * enill, gaffael

a'dyn, o sylwedd ei vam, wedy eni yn y byt.

Perfeith Dduw, a'pherfeith ddyn, o eneit, * resymol: a'dynol gnawd yn hanbot.

* Gogyfuwch a'r tad, o bleit ei Ddewdawt: a'llei no'r tad, o bleit ei ddyndawt.

Yr hwn cyd bod ef Duw a'dyn: nid yw ef * hagen ddau, namyn vn Christ.

Un, nyd * can ymchwelyt y * Dewdod yn gnawd: amyn can gymryd y * dyndawd * yn Dduw.

Un y gyd oll, nid can gymyscy y * sylwedd: amyn drwy vndot person.

Canys mal y mae yr eneit resymol a'r cnawd yn vn dyn: velly Dew a Dyn, ys ydd vn Christ.

Yr hwn a ddiaoddefawdd tros ein iechydwrieth: * a'ddescennawdd y Uffern, a gyuodes y trydydd dydd o veirw.

Escenodd ir Nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw dew Tad, hollgyuoethoc: o ddyno y daw y varnu byw a meirw.

Ac ar ei ddeuodiat, y cyuyt pop dyn * ac ei corphoroedd e hunain: ac aroddan gyfri am eu gweithredoedd * priawt.

Ar ei a wneythont da, y ant ir * bywyt tragyuythol: ar ei a wnethont ddrwc, yr tan tragybythawl.

Hon yw'r ffydd catholic: yr hon, pwy bynac ar ny's creto yn ffyddlon, ny all ef bod yn gatwedic.

Gogoniant ir tad, ar mab, a'r yspryt glan.

Megis ydd oedd yn y dechrau, y mae yr awrhon. &c.

Margin: * resinab · * Gogymbenhed · * er hyny · * trwy · * Duwolieth · * yn vnu · * yr hanfod · * cadwedigeth · * yn y cyrph · * ehunain · * buchedd

---

Mal hyn y tervyna trefn y Vorau ar Byrnhawn weddi trwy'r vlwyddyn.

---

## Yma y canlyn y Letaniae y' haruer ar y Sulieu, y Merchurieu', a'r Gwenereu, ac ar amsereu ereill pan orchmynner y gan Ordinari.

DEw Tad, or Nef: trugarha wrthhym wir bechadurieit.

Dew Tad or Nef: trugarha wrthym wir bechadurieit.

Dew Uap brynwr y byd: trugarha wrthhym wir bechadurieit.

Dew Uap, brynwr y byd: trugarha wrthym wir bechadurieit.

Dew Yspryd glan, yn * deilliaw ywrth y Tad a'r Mab: trugarha wrthym wir bechadurieit.

*procedo, dyuot

Dew Yspryd glan, yn * deilliaw ywrth y Tad a'r Mab: trugarha wrthym wir bechadurieit.

*procedo, dyuot

Y gogoned, lan, bendigeit Drindot, *tair person ac vn Dew: trugarha wrthym wir bechadurieit.

*tri pherson.

Y gogoned, lan, vendigeit Drindot, tair person ac vn dew: trugarha wrthym wir bechadurieit.

Na choffa Arglwydd ein enwired, n'ac enwiredd ein *Rieni, ac na ddyro ddiall am ein pechotae: arbed nyny Arglwydd dayonus, arbed dy bobyl y bryneist ath werthvawr waet, ac na * lidia wrthym yn dragywydd.

hynaif, tadeu a' mameu.
*ddigia
* ni

Arbed * nyny Arglwydd dayonus.

O ywrth bop drwc ac anffawt, ywrth pechot, ywrth ystryw a' chyrch y cythrael, ywrth dy * lit, ac ywrth barnedigaeth dragwyddawl. Gwared nyny Arglwydd dayonus.

*ddigonent, sorrant

O ywrth pop dallinep calon, o ywrth balchder, a'gwag ogoniant a'ffuc sancteiddrwydd, oywrth genuigen, dygasedd, a' bwriat drwc, a phop anghariadoldab.

Gwarad nyny Arglwydd dayonus.

O ywrth aniweirdep, a'phob pechot marwol, ac ywrth oll twyll y byd, y knawt, a'r Cythraul.

Gwared nyny Arglwydd dayonus.

O ywrth * bellt a'themestyl, o ywrth pla, * haint y nodae newyn, y wrth ryuel ar ymladd, ac o ywrth angae dysyvyt.

*luched
*cornwyt mannae chwaren cowyn.

Gwared nyny Arglwydd dayonus.

O ywrth pop terbysc a'dirgel, brad, o ywrth pop fals dysceidiaeth ac opinion anuwiol, y wrth galedrwydd calon a dirmic ar dy' air ath Orchymyn.

Gwared nyny Arglwydd dayonus.

Trwy ddirgelwch dy gnawdoliaeth, trwy dy sanctaidd enedigaeth ath enwaediat, trwy dy Uedydd, dy * vmpryd ath profedigaeth. Gwared nyny Arglwydd dayonus.

* gythlyrgdawt,

Trwy

Trwy dy ddirvawr ing, ath chwys gwaedlyd, drwy dy *groc ath ddioddefaint, drwy dy wyrthuawr angae ath claddedigaeth, drwy dy anrydeddus gyfodiad, ath escenniad, a'thrwy ddyuodiat yr yspryt glan.

*groes

Gwared nyny Arglwydd dayonus.

A'r oll amser ein trallot, ar oll amser ein gwynvyd, yn awr angae, ac yn-dydd varn.

Gwared nyny Arglwydd dayonus.

Nyny bechaduriait atolygwn y ty ein gwrando, Arglwydd dduw, a'theilyngy o hanot gadw, Reoli a' llywodraethy dy lan Eglwys yn hollawl yn y ffordd vnion.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanawt gadw a' nerthy ith wir addoly mewn iawnder a'glendit buchedd, dy wasanaeth *ydd Elizabeth ein grasusaf Vrenhines a'n pen llywydd.

*wreic

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot lywodraethy hei chalon yn dy ffydd, ofn, a' chariat, ac iddiymddiriet byth ynot, ac ymgeis yn wastat ath anrydedd ath' ogoniant.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot hei amddeffen a'ei chadw, gan roddi y-ddi *y vuddigoliaeth ar hei oll elynion.

*orvodaeth

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot, lewychy yr oll Escyp, Bugelydd a' Gwenidogion yr Eglwys ac iawn wybodaeth a'deall dy air: ac yddynt hwy trwy ei pregaeth aei buchedd, ei venegi a'i ddangos yn ddyladwy.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot gynyscaeddy Arglwyddi yr Cyngor, ar oll *Vonedd, a gras, doethinep a deall.

*Bendedigion

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot vendithiaw a chadw y pen swydogiō, gan roddy yddynt, ras y wneythur cyfiawnder, ac y vaentumio'r gwir.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot vendithiaw a' chadw dy oll popul.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot roddy y pop cenedlaeth, vndep, tangneddyf, a' cydcordio.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot roddy y ni galon ith gary ath ofny, a'byw yn ddiescaelus yn ol dy' orchymynion.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot roddy ith oll popul angwanec *rad, y

*ras

wrando yn vfydd dy' air, ai dderbyn o bur ewyllys a'chynyrchy ffrwyth yr yspryt.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

*ddydro

Teilyngy o hanot ddwyn ir ffordd wir, pawp ar aeth ar *gyfeiliorn ac a dwyllwyd.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot nerthy y rei y sy yn sefyll, a'chōfforddio a'chanorthwyo y rhei sy a gwan galon, a chyfody y sawl y syrthyant, ac or dywedd curo y lawr Satan y dan ein traed.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

*helbul.

Teilygy o hanot cymhorth, a'helpio a'dyddany pawp ar sydd mewn perigl, angenoctit, a'*thrwblaeth.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

*ddwr

*y sydd

Teilyngy o hanot gadw pawb a'r sydd yn ymddeith ar *vor na thir, pop gwreic wrth escor plant, pop clwyfuys a'rhei bychein, ac y ty dosturio wrth pawb *a vo mewn caethywet na charchar.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot amddeffē ac ymgleddy y plant amddyfeit, a'r gwragedd gweddwon, a' phawb y sydd yn vnic, ac yn goddef pv ys plait orthrech.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot trugarhay wrth pop dyn.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Teilyngy o hanot vaddae y ein gelynion, erlynwyr, ac esclandrwy, a'throi ei calonnae.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

*tymhoraidd

Teilyngy o hanot roddy a chadw er ein lles, *amser olffrwythae y ddaiar, modd y caffom mewn amser dyledus ei mwynhay.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

*bywyt

Teilyngy o hanot roddy y ni wir edifeirwch, a' madde y ni ein oll pechotae, escaelustra, a'n anwybod, ein cynyscaeddy a rhat dy yspryt glan, a gwellau ein *buchedd, yn ol dy' air sanctaidd.

Nyny atolygwn y ty ein gwrando Arglwydd trugarawc.

Map Duw: atolygwn y ty ein gwrando.

Map Duw: atolygwn y ti ein gwrando.

Oen Dew yr hwn wyt yn diley pechodae'r byd.

Caniata y ni dy dangneddyf.

Oen Dew, yr hwn wyt yn diley pechodae'r byd.

Trugarha wrthym.

Christ clyw nyni.

Christ clyw nyni.

Arglwydd trugarha wrthym.

Arglwydd trugarha wrthym.

Christ trugarha wrthym.

Christ thugarha wrthym.

Arglwydd thugarha wrthym.

Arglwydd trugarha wrthym.

Ein tad yrhwn wyt yn nefoedd. &c.

Ac* na thywys ni ym-profedigaeth.

Eithyr gwared ni rhac drwc.

Gwers.

Arglwydd na wna a nyni yn ol ein pechodae.

Atep.

Ac na' obrwya ni yn ol ein enwiredd.

Gweddiwn.

DEw Tad trugaroc, yr hwn nyt wyt yn tremygy ucheneit calon gystuddedic, nac addunet y gorthrymedic: canhorthwya yn drugaroc ein gweddiae ry ddym ni yn ei gwneythyr geyr dy fron, yn ein trallot a'n blinfyd pa fryd bynac y goascant arnam: a' gwrando ni yn rasusol, yd pan vo ir drygae hyny, ry mae ystryw a' dichell diawl nei ddyn yn ei gwnethyr in erbyn, bynet yn ouer, a'thrwy luniaeth dy ddaioni di, yddynt vot yn oyscaredic, modd na'n briwer dy weision drwy erlyn nep, a'gally o hanom byth ddiolwch y tydy yn dy lan Eglwys, trwy Jesu Christ ein Arglwydd.

* nac arwein

Arglwydd cyvod, cymhorth ni, a' gwared ni er mwyn dy enw.

Dew, ys clywsam a ein clustiae, a' ein tadae, a bynagawdd i-ni y gweithredoedd ardderchawc y wneythost yn ei dyddiae, ac yn * y cynvyt oei blaen hwy.

*yr hen amser.

Arglwydd cyvod, cymhorth ni, a' gwared ni er dy anrydedd.

Gogoniant y'r Tad, a'r Mab, a'r yspryt glan.

Megys ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awrhon ac y bydd yn wyst at yn oes oesoedd. Amen.

Rac ein gelynion amddeffen ni, Christ.

Yn rasawl edrych ar ein poenedigaethae.

Yn dosturus ystyria wrth drymder ein calonne.

Yn drugaroc madde pechodae dy Bobul.

Yn garedigol gan drugared gwrando ein gweddion.

Iesu vap Dauid, trugarha wrthym.

yr awrhon a' phop amser teilynga ein gwrando, a Christ.

Yn rasawl clyw ni a Christ, Yn rasawl clyw nyny, Arglwydd Christ.

Gwers.

Arglwydd dangos dy drugaredd arnam.

Atteb.

Mal ydd ym yn ymddiriet ynot.

Gweddiwn.

Nyny atolygwn ytty Arglwydd Dat, yn drugarawc edrych ar ein gwendit, ac er gogoniant dy enw, ymchwel y worthym yr oll ddrygeu rhai ddarbu y ni o wir gyfiawnder ei haedda, a' chaniatha bot y ni yn ein oll trallot, ddody ein cyfan ymddiriet a'n gobeith yn yn dy drugaredd, a' byth dy wasanaethy, mewn santeiddrwydd a' phurdep buchedd, ith anrydedd ath ogoniant, trwy ein unic gyfryngwr an dadlewr Iesu Christ ein Arglwydd. Amen.

Gweddi tros vawrhydi y Urenhines.

O Arglwydd ein Tad nefawl, goruchel a' galluoc, Brenhin y Brenhinedd, Arglwydd yr Arglwyddi, llywyawdr unben y tywysogion, yr hwn wyt oth eisteddle yn edrych ar oll drigiolion y ddaiar, ys atolygwn ac erbyniwn y-ty, edrych o hanot yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwyddes Urenhines Elizabeth, ac velly hei chyflowni o rat dy sanctaidd yspryt, yd pan vo iddi yn oystadol bwyso yth veddwl, a' rhodio yn dy ffordd, cynyscaedda yhi yn ehelaeth a doniae nefawl, caniatha iddi mewn llwyddiant ac eicheit hir *hoedl, nertha yhi, modd hi gallo' orescyn a' *gorchyvygy hei oll elynion, ac or dywedd yn ol y buchedd hon, bot iddi bwynhau llywenydd a' dedwyddyt, tragwyddawl, trwy Iesu Christ ein Arglwydd. Amen.

*oes, einioes bywyt

*gorvot

*alluawc

O Ll*gyvoethawc a' thragyvythawl Dduw, yr hwn wyt yn unic yn gwneythyd ryueddodae, danfon y lawr ar ein Escopion a' Churatieit, a'r oll gynulleidvaon y orchymynwyt y dan ei goval hwynt, iachwyol yspryt dy rat, yd pan vo yddynt wir ryngy bodd yty, *dinea arnaddynt ddyvall wlith dy vendith: Caniatha hyn Arglwydd, er anrydydd, ein dadlewr a'n cyfryngwr Iesu Christ. Amen.

*tywallt arnynt

Gwedoi o waith Chrysostom.

OLl * gyuoethawc ddyw, yr hwn a roddeist y ny rad y pryd hyn drwy gyfundep, a'chydgyvarch y weddiaw arnat, ac wyt yn gaddo pan ymgynullo dau neu dri yn dy enw, bot y ty ganiathau'ei gouynniō: cyflowna yr awr hon, Arglwydd, ddamunet a deisyfiat dy weision, mal y bo mwyaf buddiol yddynt, gan ganiadhay y ni yn y byt hwn, wybodaeth am dy wirionedd, ac yn y byt a ddaw, bywyt tragyvythawl. Amen.

*alluoc

RHat ein Arglwyd Iesu Christ, a'serch Dyw, a*chymdeithas yr Yspryt glan, a vo gyd a ni oll byth bythoedd. Amen.

*cyfei-llach

Gweddi am glaw pan vo angenreidiol.

ODduw nefol Dat, yr hwn drwy dy Vap Iesu Christ, y addeweist i bawp y geisio dy Deyrnas a'i chyfiownder, pop peth sy angenreidiol yw * cynhalieth corphorawl: danfon y ni wrth ein angenoctit, ni atolygwn ity, gyfryw * hinon a chawodydd * ardemherus, modd y gallom gaffael ffrwythae y ddaiar in mwynniant ni, ac ith ydduniant tithae, trwy Ieshu Christ ein Arglwydd. Amen.

*llunia-eth

*dywydd cymme-drol.

Tros hinon neu dywydd tec.

ARglwydd Ddyw, yr hwn am bechot dyn y boddeist unweith yr oll byd, o ddiethr wythnyn popul, ac yn ol hyny oth vawr drugaredd, y addeweist na's destrowyt byth drachefyn: ni atolygwn yty kyd bot y ni am ein enwiredd *ryglyddy y bla glaw hon a' dyfredd, eto wrth ein gwir edibeirwch, bot yty ddanvon cyfryw dowyd a'hinon, yd pen allom dderbyn ffrwythae'r ddaiar mewn amser dyladwy, a'dyscy trwy dy gospedigaeth wellhay ein bucheddae, ac er dy warder roddy yty volyant a gogoniant, trwy Iesu Christ ein Arglwydd. Amen.

*haeddu

Ar amser drudaniaeth a' newyn.

ODdyw Tad or Nef, drwy ddawn pa vn y descen y glaw, ac y mae y ddaiar yn ffrwythlawn, yr hilia anifeilieit, ac ydd amylha'r pyscawt: edrych * atolwc ar adfydd dy popul, a' chaniatha am y prinder ar drudaniaeth (ydd ym ni

yr owrhon yn ei ddyoddef yn gwbyl gyfion am ein enwiredd) iddo drwy dy drugarawc ddaoni ymchwelyt yn rat ac yn helaethrwydd, er cariat ar Jesu Christ ein Arglwydd, i ba vn, gyd a thydy a'r yspryt glan, y bo moliant yn oes oesoedd. Amen.

Ar amser Ryuel.

OLl alluoc Ddew, Brenhin yr oll Urenhinedd, a' phenl'ywyawdr pop peth, yr hwn ny ddychon * neb creadur wrthladd ei nerth, ar yr hwn y perthyn o gyfiownder * gospi pechaturieit, a' bot yn drugarawc wrth y rei y bo gwir ediveiriol: Cadw a' gwared nyny (erbyn ac * atolwg y-ty) rac dwylaw ein gelynion, gestwng ei balchder, tola ei drigioni, a gwrad wydda ei bwriadae, modd y gallom yn arvogion gan dy amddeffen, bot byth yn gadwedic rac pop perigl, ith' ogoneddy di yr hwn wyt vnic roddwr pop victori, a * gourchafiaeth drwy * ryglyddae dy vn map Jesus Christ ein Arglwydd. Amen.

* vn<br>
* boeni<br>
* adolwyn<br>
* gorno-aeth<br>
* haedde-digaether

Pryd pla gyffredin, ai haint cynwynol.

OLl gyboethawc Ddew, yr hwn yn dy lid yn amser y Brenhin Dauid, y leddeist a phla y * nodae lxx. M. ac yn lleigys gan goffa dy drugaredd, a baddeueist y lleill: trugarha wrthym wir pechaturieit, yr ei in ymwelir y gan ddirvawr haint a' marwoleth, yd pan vo mal y gorchymyneist ith Angel peidiaw a * chospi: bot yn deilwng genyt yr owrhon wrthlaud ywrthym y bla ar gofidus haint * yma, trwy Jesu Christ ein Arglwydd. Amen.

* chwarren-nanne, colwyn<br>
* phoeni<br>
* hyn

ODdew, yr hwn biae o naturiaeth a' phriodoldep drugarhau yn oystat, a' maddae, derbyn ein vfydd weddieu: a' chyd bom ni yn rhwym gan gaethiwet cadwynae ein pechatae, er hyny datoder, ni y gan dosturi dy drugaredd, er anrhydedd Jesu Christ ein cyfryngwr a'n dadleuwr. Amen.

# Y Colletae, yr Epistolae, ar Euangelon, y arferir amser gwasanaeth swpper yr Arglwydd, a'r *Commun bendigedic trwy'r vlwydd hyn.

## Y Sul cyntaf yn yr Aduent, neu'r Grawys' ayaf.

### Y Collect.

OLl alluawc ddww, *dot rat y nyni y imwrthod a gweithredoedd y tywyllwch, a'bot ini wisco arnau'r goleuni, yr awrhon yn amser y buchedd varwol hon pryd y daeth dy vab Iesu Christ i ymwelet a ni mewn mawr ostyngeiddrwydd yd pan bo yn y dydd *dywethaf, pan ddel ef drechgefyn yn ei'ogonedus vawredd, i varnu byw a'meirw, cyfodi o hanom ir buchedd anvarwol, trwyddaw yr hwn * y bywocka, ac a deyrnasa'gida thydi ar yspryt glan, yr awr hon ac yn dragywydd. Amen.

*kymmyn, *rho, dyro. *dywedaf. *ys ydd byw

### Yr Epistol.

NA uyddwch mewn dlet nep, anid hyn, caru o bawp y gylydd. Canys y nep *a gar arall, a gyflawnodd y *ddeddyf. Canys hyn yma, Na wna'odinep: Na ladrata: Na ddwc camtestiolaeth Na *thra chwenycha: ac ad oes or chymyn arall, efe gynwysir yn byr yn yr ymadrodd hwn [nid amgen] Car dy gymydawc mal tyhun. Cariat ny wna *eniwet y'w gymydawc: ac am hyny cyflawnder y *Deddyf yw cariat. Ac yn enwedic can ein bot, yn canbot yr amser, y bot yn oet ini nawr *ddihunaw o gwsc: canys yr awrhon y maeiech yt yn nes yn, na phan credessam. Y nos aeth heibiaw, a'r dydd a nessaodd: can hynny bwriwn ymaith'weithredoedd y tywyllwch, a'gwiscwn arvau y golauni. Rotiwn yn drefnus, mal wrth liw dydd, nyt mewn gloddest a chyfeddach, nyd mewn *cydorwedd ac anllatrwydd, nyd mewn *cynnen, a chenvigen: eithyr gwiscwch am danoch yr Arglwydd Iesu Christ, ac na vit eich gofal tros y cnawt, er mwyn porthi tra chwantae.

Rom. xiii. *sy yn caru. *Gyfraith, *chybydda. *argyweddiad, drwc. *Gyfraith *ddiffroi. *gorweddial *ymryson ceintach

Yr Euangel.

Mat.xxi.

A Phan ddaethant yn gyfagos i Caerusalē, ac dyuot hwy i Bethphage i vynydd Oli-
uar, yno yd anuones Iesu ddau ddiscipl
can ddywedyt wrthynt, Ewch ir pen-
tref y syd * gyferbyn a chwi, ac yn y * man,
chwi a gewch asen yn rhwym, ac * ebol
gyd a hi: gellyngwch wynt a'dygwch*
i mi. Ac o dywait nepddim wrthych, dy
wedwch, vot yn rraid ir Arglwydd wrthynt: ac yn y man ef
a'i gellwng hwynt. A hyn oll a wnaeethpwyt, y gyflawni yr
hyn a ddoytpwyt trwy'r prophwyt, yn doydyd, Dywedwch i
verch Sion * Nycha, dy Vrenhin yn dyvot atatyn * war, ac yn
eistedd ar asen ac ebol llwdn asn, vreddol. Y discipulon a aeth-
ant, ac a wnaethant mal y gorchymynawdd Iesu yddynt, ac
a ddugesont yr asen a'r ebol, ac a ddodesont ei dillat arnynt, ac
ei gesodesont ef * arnwynt. A'thyrua ddirvawr a daneusont ei
dillat ar y ffordd: ereill a dorresont gangae or gwydd, ac ei tanu-
sont rhyt y ffordd. A'r dyrfa a oedd yn mynet or blaen, ac yn dy-
vot ar oll, oedd yn yn llefain, can ddywedyt, * *Ho-sanna* i vap
Dauid: bendigedic vo yr hwn y sy yn dywot yn Enw yr
Arglwydd, *Ho-sanna* rhwn wyt yn y [nefoedd] goruchaf. A'
gwedy ei ddyuot i Gaerusalem, y dinas oll a gynnyrfawdd, can
ddywedyt, Pwy yw hwn. A'r tyrvae a ddywedasant, Hwnyw'r
Iesu y Pprophwyt o Nasaret;, yn Galilea. A'r Iesu a aeth y
mewn i temi Dduw, ac ei taflawdd hwynt y gyd allan yr ei
oedd yn gwerthu ac yn prynu yn y templ, ac a ddymchwelawdd
gwerthy colomyr newydwyr-arian, a chadeiriae yr ei oedd yn
y lawr byrddaeb enot, ac a ddyvot wrthwynt, Mae yn escriuen-
nedic, Y tuy mab vi, tuy gweddi y gelwir, eithr chwi a ei gwnae
thoch yn, og ofilatron.

*ar i'ch cyfer.
*ebrwydd
*Wele
*vfydd,
*atati.
*Iacha, cadw, ymwared.

# Yr ail Sul in Aduent.

## Y Collect.

Y Gwynbydedic Arglwydd, yr hwn* a bereist yr oll scrythur lan yn escrifenedic er mwyn eyn athrawaeth a'n addysc ni: Caniatha bod i ni mewn cyfryw vodd ei gwrando, ei darllain, ei chwiliaw, ai dysgu, ac in mewn ei mwynhau, yd pan allom trwy ddyoddefaint a * chonffort dy gyssegredic air, ymgofleidio ac ymgynal can vendigeid' obaith y vuchedd dragwyddawl, yr hon a roddaist y ni, drwy'ein Iachawdr Iesu Christ. Amen.

*y

*chy sin

## Yr Epistol.

Rom. xv.

Pa bethae bynac a yscrifenwyt or blaen, er addysc i ni yr escribenwyt, val y gallem ni trwy amynedd a'chonffort yr Scrythurae, gahel gobaith. A'Duw [penawdur] yr amynedd a'r* conffort a roddo y chwi synniet yr vn peth pawp y gylydd,* erwydd Christ Iesu, mal o gytundeb [ac] vn genae y galloch anrydeddy Dyw *a'thad ein Arglwydd Iesu Christ. Am hyn* cymerwch bawp y gylydd, mal y cymerawdd Christ ninae, i'ogoniant Duw. A'hyn a ddywedaf, bot Iesu Christ yn wasanaethwr yr* enwaediat tros wirionedd Duw, er sicrau'r addaweidion [a wnaethpwyt] yr tadae: Eithyr val y gallei y* Cenetloedd roddy gogoniant i Dduw dros ei drugaredd, megis y mae yn escrivenedic, Er mwyn hyn ith* cosffessaf ymplith yh Cenetloedd, ac y canaf ith Enw. A'thrachefyn y dywait, Ymlawen hewch Genetloedd y gyd aei bopl ef. A'thrachefyn, Molwch yr arglwydd yr oll Genetloedd, a chydvolwch ef yr oll poploedd. A'thrachefyn, Esaias addywait, E bydd gwreiddyn Iesse, ar hwn a gyfyd i lywodraethy yr Cenetloedd, yn hwnw y gobeith a'r cenetloedd. A'Duw 'r gobaith a'ch cyflawno o bob llewenydd, a'* heddwch trwy gredy, val y byddoch* gyfoethogion yn-gobaith, trwy nerth yr Yspryt glan.

*cysur

*ar ol

*ogone-ddu, to-llianu Sel

*dechyni wch.

*circumcisio.

Yr Euangel.

Luc.xxi.

*cyngyt *werin *dyspet-dain *chwn-wch *gyffely-piaeth *bragoz-aw, *yn ago *a dzan-gant

No y byddant arwyddion yn yr haul, a'r lleuat, a'r ser: ac ar y ddaear y bydd *gwascva ar y *popul, gan gyving gyngoz: y moz a'r tonnae yn rhuo, a'dynion yn digaloni rac ofn, a dysgwyl cyfryw betheu a ddaw dros y *ddayar: canys nerthoedd y nefoedd a gyffroir, ac yno y gwelant vap y dyn yn dawot mewn wybzen, *a'gallu a' gogoniant mawr. A'phan ddechrauo hynn vot, yno, edzychwch y vyny, a'chodwch eich pennae: canys mae eich prynedigaeth yn nesay. Ac ef ddyvot wrthwynt barabol, Gwelwch y ffiguspzen, a'r oll pzenniae eraill, pan ddechreuant *blagurаw, chwith-e yn ei gwelet, a wyddoch o hanoch ich hunain vot yr haf yn agos. Uelly pan weloch gyflawni y pethae hyn, cydnabyddwch vot teyrnas Dyw *geyr llaw. Yn wir y dywedaf wrthych, na dderbydd yr oes hon hyd yny chwplaer [hyn] oll. Nef a daear * a ant heiblo, eithyr vyngeiriae i nid ant heibio.

## Y trydydd Sul yn Aduent.

Y Collect.

*obwy *llewycha

Arglwydd, atolygwn yt glustymwzandaw a'n gweddion, a' thrwy dy radlawn* ymweliat, gole dywyllwch eyn calon, trwy eyn Arglwydd Iesu Chzist.

Yr Epistol.

i Coz.iiii. *trinwyr, gwast ordwyr, gozchwylwyr, ystiwerdleit

Ymered dyn nyni mal hyn, megis gweinidogion Chzist, a' * llywodraethwyr dirgelion Duw Ac am ben hyn gobyn a wneir gandlywodraethwyr gahel pawb yn ffyddlawn. Ac am dana vi, lleiaf, dim cenyf gatel * bymbarny geny chwi, neu gan varn dyn: ac nid wyf chwaith yn vymbarnu vyhun. Can na wnn i vymbot yn euog o ddim ni'm cyfiawnheir er hyny: eithyr yr hwn a'm barn i, yr Arglwydd yw. Can hynny na vernwch ddim cyn yr amser, hyd yny ddel yr Arglwydd, yr hwn a'oleua ddirguddiedigion y tywyllwch, ac aeglura vedyliae caloneu: ac yno y bydd moliant i bawp gan Ddew.

Yr

Yr Euangel.

Math. xi.

PAn glybu Joan ac ef yn-carchar o ywrth weithredoedd Christ, e ddanvones ddau oei ddiscipulon, ac a ddyvot wrthaw: Ae ti yw'hwn a ddaw, ai dysgwyl a wnawn am arall. Jesu a atebawdd ac a ddyvot wrthynt, Ewch. a'managwch i Joan pethae a glywsoch ac a welsoch y mae'r daillion yn cahel ei golwc, a'r cleifion gohanol wedy ei glanhay, a'r byddair yn clywet, a'r meirw y gyfodir, a'r tlodion yn dervyn *yr Euangel. A'dedwydd yw'r *neb ny *rwystrir om plegit i. Ac wynt yn mynet ymaith, ef a ddechreuawdd Jesu ddywedit wrth y popul, am Joan, Pa beth yr aethoch ir *diffeith i edrych am danaw, ai corsen a *yscytwei gan wynt. Eithyr pa beth yr aethoch yw welet. Ai *dyn wedy'i wisco mewn dillat esmwyth. *Nych a'r rei ys y yn gwisco dillat esmwyth, mewn tai *Brenhinoedd y maent. Eithyr pa beth aetho chwi yw welet. Ai Prophwyt. Je dywedyt ydd wyf wrthych, a'mwy no Phrophwyt. Can ys hwn yty'w y neb y mae yn escrivenedic am danaw, * Nycha, mydi sy yn danvon vyngenat rac dy wynep, yr hwn a parato a dy ffordd oth vlaen.

*Dangyswysc.

*coelvain

*hwn.

*thramgwyddo wrth yb

*anialwch.

*f. glas.

*g wr

*Whely.

# Y pedwerydd Sul in Aduent.

Y Collect.

A *Rodderch a Arglwydd (atolygwn y ty) dy gadernit, a dyret in plith, ac a mawr nerth cymorth ni, ac am y rhwystr a'r lluddias ys ydd arnam can enwiredd ein pechoteu, bot ith ddaionus rat ti (trwy ddiwygiat dy Vap ein Arglwydd) ein ymwared ni yn ebrwydd: i ba vn y gyd a'thi a'r Yspryt glan, y bo anrydedd a gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

*Dercha cyvot.

Yr Epistol.

Phil. iiii.

LLawenhewch yn yr Arglwydd yn oystatawl, a'thrachefyn y dywedaf, llawenhewch. Bit eich arafwch yn espysawl i bawp dyn. Y mae yr Arglwydd* yn agos. Na* ofelwch amddim, eithyr ympop dim trwy

weddi, a'deisyf, gyd a rhoi diolch * yspyser eich gofynion gyrbron Duw. A'heddwch duw yr hwn ys ydd, yn rhagori pop deall, a gaidw eich calonae, a'ch meddyliae yn-Christ Jesu.

*amlycaer

Yr Euangel.

Joan.i.

A *Hyn (yw) testiolaeth Joan, pan ddanfonawdd yr Iuddeon o Gaerusalem Offeiriait a'Leuiteit y ofyniddo, Pwy wyti. Ac ef a coffessawdd ac ni wadawdd, ac a * addefawdd yn olae, Nyd myfi yw y Christ. Yno yr holesant ef, Peth yntae ytwyt. Ai ti Elias, Ac ef a ddyuot, Nac wyf. Ai yr Prophwyt wyt ti. Ac ef aatebawdd. Nac ef. Yno y dywedesant wrthaw. Pwy wyt, val y gallom roi atep ir ei a'n danfones. Peth addywedy am danat dyhun. Ef a ddyuot, Myfi yw llef yn llefer ydd yn y diffeith, * Cyweiriwch ffordd yr Arglwydd, mal y dyvot Esaias Prophwyt. A'r ei a ddanfonesit, oeddynt or Phariseieit. Ac wy aei holesont ef, ac a ddywedesont, wrthaw, Paam ydd wy titheu yn Batyddiaw, a's ti nid yw'r Christ nac Elias, na'r Prophwyt. Joan ei atebawdd ac addyuot myfi'sy yn batyddiaw a d'wfyr: eithyr y mae yn sefyll yn eich * cenawl, yr hwn nyd adwaenoch chwi. Ys hwnw yw ef a ddaeth I'om ol i, yr hwn a'm rhagorawdd i: yr hwn * nid wyf fi deilwng y ddatot carrae ei escit. Hyn yma a wnaethpwyt ym Bethabara * tros Iorddonen, lle ydd oedd Joan yn Batyddio

*Hon. *addefwys.

*llefain, crio *Union wch arloyswch,

*perfedd

*ny haeddwn.

*y tuhwnt, y tu draw

## Die natalic Christ,

Y Collect.

O Ll alluawc Dduw, yr hwn a roddeist i ni dy vnmab i gymryt * ein anian arnaw, ai eni heddiw o forwyn bur: Caniatha bot eyn adgenedly a'n gwneuthur yn blant y ty drwy fabwys a'rrat, a'pheunydd ein adnewyddu trwy dy lan yspryt, trwyr vnrhyw ein Arglwydd Iesu Christ, yr hwn a * vywoca ac a deyrnasa y gyd a thi yn oes oesoedd.

*syr yn byw a deyrnasu

## Yr Epistol

DYw lawer gwaith a'llawer modd a ymddiddanodd gynt a'r tadae trwy'r Prophwyti Yn y dyddiaie dywethaf hyn yr ymddiddanodd ef a nyni trwy ei vab yhun, yr hwn a wnaeth ef yn etivedd pop peth, trwy'r hwn y gwnaeth ef y bydoedd: yr* vn can ei bot yn llewych y gogoniant, ac yn wir lun ei* berson ef, ac yn cynnal pop peth trwy ei air galluawc ef, wedy * glanhay ein pechodae trwydaw ef ehun, ys ydd yn eistedd ar ddeheulaw a mawredd yn yr vchelion yn gymeint y gwnaethpwyt ef yn* well n'ar Angelion, ac y meddawdd ef Enw mwy ragorawl nac wyntwy. Can ys wrth pwy o'r Angelion er ioet y dybot ef, Ti yw vy mab, mybi hed-dyw ath enillawdd. A'thrachefyn, Mi vyddaf dad i-ddaw, ac ef vydd mab y mi, A' thrachefyn pan yw ef yn dwyn ei vap *cyn-t'aned ir byt, y dywait, Ac oll Angelion Duw aei addolant ef. Ac am yr Angelion y dywait, Ef a wna yr yspryttion yn genadae iddaw, aei wasmaethwyr* o fflamm dan. Eithyr wrth y mab y dywed, Dy eisteddvot dduw ys yd yn oes oesoedd. Teyrnwialen vnion, teyrnwialen dy deyrnas di. Ceraist wirionedd ac a gascheist enwiredd: am hyny Dyw ys ef dy dduw di ath irawdd ac oleo* gorvoledd vch pen dy gyvìellion. A'thydy Arglwydd yn y dechreu a sailiest y ddaear, a'gweithredoedd dy ddwylo yw'r nefoedd. Wyntwy a ddarvyddant, a'thydi a barhay: ac wynt a henaiddiant megis* dilledyn: a'megis gwisc y plygy wynt, ac a y newidir: tithae yr vn ytwyt, ath vlynyddedd ny phallant.

Heb.i.

*hwn vap.

*sylwedi hanvod.

*carthu ardderchawc

*cynenid

*yn

*eliawdd

*enir-iawdd nei treiddiodd.

*llawenydd.

*pilin

Joan.i.

### Yr Euangel

YN y dechrae yd oedd y gair, a'r gair oedd gyd a duw, a' Duw oedd y Gair hwnnw. Hwnn oedd yn y dechrae gyd a Duw. Pop peth a wnaethpwyt trwyddaw ef, ac ebddaw ef ny wnaethpwyt dim ar a wnaethpwyt.

*lewcha *amgyffred.

Yntho ef ydd oedd bywyt, a'r bywyt oedd* golauni dynion. A'r golauni hwn a*dywynna yn y tywyllwch, eithyr y tywyllwch nyd oedd yn y gynwys ef. Ydd oedd dyn a ddanvonesit ywrth Dduw, a'ei enw ytoedd Ioan. Efe a ddaeth yn testiolaeth*, ys ef er dwyn testoliaeth * o'r golauni, val y credai pawp trwyddaw ef. Nid efe oedd y golauni hwnw, anid ei [ddanvon] i destiolaethu o'r golauni. Hwn oedd y gwie olauni, yr hwn a oleua pop dyn sy yn dyuot ir byt. Yn y byd yr oedd ef,* a'r byt a wnaethpwyt trwyddaw ef, a'r byt ny's adnabu ddim o hanaw. At yr eiddaw ehun y daeth, a'r yddaw ehun ny's erbyniesont ef. Cynniuer a ei derbyniesont ef, ef a roddes yddwynt* veddiant y vot yn veibion Duw [nid amgen] ir sawl, a credant yn ei enw ef, yr ei nid o waedae, nac o* ewyllys y cnawt,* nac o'wyllys gwr, amyn o Dduw y ganet wynt. A'r Gair a wnaethpwyt yn gnawt, ac e drigawdd yn einplith, (a gwelsam ei ogoniant ef, mal gogoniannt vn map geni[y ddaeth* ywrth y tad] yn l'awn rhad a'gwirionedd.

*am

*braint *plant. *chwant.

## Sydd gwyl sanct Stephan,

### Y Collect.

*erlynwyr

CAniatha y ni, Arglwydd, ddyscy caru eyn gelynion drwy esempl dy verthyr Sanct Stephan, yr hwn a weddiawdd tros ei * arteithwyr arnati yr hwn wyd ynct oes oesoedd. Amen.

Yna y canlyn Colleg o'r Natalic, yr hwn a ddywedir yn oystat yd dydd Kalan.

### Yr Epistol.

Act.vii.

*yscr... haw dys... rethain... oedd... taw.

AC Stephan yn llawn o'r Yspryt glan, can edrych yn ddyval tu ar nefoedd, a weles ogoniant Duw, ac Iesu yn eistedd ar ddeheulaw Duw, ac ef a ddyuot,* Nycha, mi wela'f y nefoedd yn agoret a'Map y dyn yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Yno* gawri a wnaethant a llef vchel, ac a gaeasont ei clustiae,

ac a * ruthresent ar vnwaith arnaw, ac a'ei tavellsont ef*[allan]or dinas ac aei llapyddie sont: a'r testion a ddodesont ei'dillat ar lawr wrth draet gwr ieuanc, a elwit Saul. Ac wy a lapyddiesont Stephan, y oedd yn galw[ar Dduw]ac yn dywedyt Arglwydd Iesu, derbyn vy yspryt. Ac ef estyngodd ar i liniae, ac a lefawdd a llef vchel, Arglwydd, na ddod yn y herbyn wy y pechot hwn. A' gwedi y ddaw ddywedyt hyn, ef a *hunawdd.

*gyrchesont
*y maes.
*gyscawdd

Yr Euangel.

Nycha, ydd wyf yn danvon atoch Prophwyti, a'doethion, ac Scrivenyddion, ar ei o hanynt a leddwch ac a crogwch: ar ei a hanynt a yscyrsiwch yn eich* synagogae, ac a* erlidwch o* dref i dref, mal y del arnoch chwi'yr oll waed gwirian ar a *ellyngwyt ar y ddaear, o waet Abel gyfiawn yd yn-gwaet Zacharias vap Barachias, yr hwn a laddesoch rhwng y Templ ar allor. Yn wir y dywedaf wrthych, y daw hyn oll ar*y genedlaeth hon. Caerusalem, Caerusalem, yr hon wyt yn lladd y Prophwyti, ac yn llapyddiaw yr ei addanvonir atat, pa sawl gwaith y mynesswn* gasclu dy blant ynghyt, megis y cascla yr iar hei chywion y dan hei adanedd, ac ny's myddnech.* Nycha, e adewir ychwy eich cartref yn* ancyvanedd. Can ys dywedaf wrthych, n'ym gwelwch yn ol hyn, yd yny ddywedoch, Bendigedic yw'r hwn a ddaw yn enw yr Arglwydd.

Mat. xxiii
*cynulleidvae.
*erlynwch.
*ddinas
*ddigeuwyt
*yr oes.
*glascy
*Welyddiffaith

## Dydd g gwyl Ioan Euangelwr.

Y Collect.

Arglwydd trugarawc, attolwc y-ty dywynnu oth ddisclair lewych ar dy Eccleis, yd pan voy-ddhi wedir oleuaw gan athrawaeth dy wynfydic Apostol ac Euangelwr Ioan, allu dyfod ith ddoniau tragwyddol, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

### Yr epistol.

j. Ioan. i.

YR hynn oedd o'r dechrae, yr hyn a glywsam, yr hyn a welsam a'n llygait, yr hynn a edrychasam arnaw, ac a deimlawdd ein dwylaw erwydd gair y bywyt (canys y bywyt a ymddangosawdd, ac eu gwelsam, ac ym yn testiolaethy, ac ydd ym yn manegy y-chwy y bywyt tragywythawl, yr hwn oedd gyd ar tad, ac a ymddangosawdd y nyni) yr hynn, [meddaf] a welsam ac a glywsam, hynny ddym yn ei adrodd ychwy, val y caffoch chwithae gymddeithas gyd a ni'ac mal y bo ein cymdeithas ni'gyd ar tad a chyd aei Vap ef Iesu Christ. A'hynn ydd ym yn ei escribeny atoch, val y bo cyflawn eich llawenydd. A'hynn ytyw'r genadwri aglywsam ni ganthaw, ef, ac ydd ym yn manegy ychwy, bot Duw yn olauni, ac nad oes dim tywyllwch yntho ef. A's dywedwn bot yn i*gymddeithas ac ef, a'rhodiaw mewn tywyllwch, celwyddoc ydym, ac nid ym ar* y gwir. Au'd a's rhodiwn yn y golauni, megis y mae ef yn y golauni, ni gawn gydgymdeithas a ei gylydd, a'gwaet Iesu Christ ei vap ef a'n glanha ni y wrth pop pechat. A's dywedwn ein bot eb pechat, ydd ym yn ein twyllaw ein hunain, ac nid oes ynom wirionedd. A's addefwn ein pechotae, ffyddlaw a'chyfiawn yw ef, y vaddae i ni ein pechatae, *a'n glan hay o ddywrth pop enwiredd. A's dywedwn na phechasom, ydd ym yn ei wneythyr ef yn gelwyddoc, aei*air nid yw ynom.

*gyfundap
*yr iawn
*carthu
*athroaeth.

### Yr Euangel.

Ioan. xxi.

IEsu a ddywot wrth Petr, *canlyn vi. Yno Petr a droes o amgylch, ac a ganvu y dyscipul yr hwn oedd hoff gan Iesu, yn *canlyn, yr hwn hefyt a roesei ei bwys ar ei ddwyfron ef ar swper, ac a ddywedesei, Arglwydd, pwy yw hwn a'th vradycha di? Petr pan ei gweles, ef a ddywot wrth Iesu, Arglwydd, peth am hwn? Iesu a ddywot wrthaw, A's mynnaf y-ddaw aros yd yny ddelwyf, beth [yw hyny] y ti? *canlyn di vi. Am hynny ydd aeth y gair hwn ym plith y broder, na byddei varw'r discipul hwn. Eithr ny ddwetsei'r Iesu wrtho. Ny bydd ef varw: a nid. A's mynnaf y-

*Dilin.
*dylyn.
*dilin.

daw aros yd yny ddelwyf, beth ywo hynny y ti? *Hwn yw'r discipul hwnnaw, ys ydd yn testiolaethy am y pethae hynn, ac a escrifennodd hyn, a gwyddom bot yn wir ei testiolaeth ef. Ac y mae llawer o bethae eraill a wnaeth yr Iesu, yr ei, pe yd escribenit wynt eb=ado=bn, tybyet yddwyf na's galley y byt *am gyffred y llyfrae a yscribennit.

*efe
*dderbyn gymeryd gynnwys

## Die gwyly meibion gwirian.

### Y Collect.

OLl* gyboethawc ddnw yr hwn y bu y dydd hwn ir gwirianieit dy *dystion, gyffesu a'dangos dy boliant, nid gan ddywedyt, a nid gan farw: lladd yn barw pob rhyw anwiredd ynom: mal y bo yn ein ymworeddiat, in buchedd bynegi dy ffydd, yr hon yddym a'n tafod ym chyffesu, trwy Iesu Chr.st yn Arglwydd. Amen.

*alluawc
*berthyri

### Yr epistol

EDrychais, a'nycha, yr oedd oen yn sefyll ar bynyth Sion, a gyd ac ef cant, da'ugain a'phedair mil, ac enw ei dad yn escribennedic yn ei talcenne. A'chlyweis lef or nefoedd, megis sain llawer o ddyfredd, a'megis sain *twrwf mawr: a'chlyweis sain telynorion yn *canu ei telyne. Ac yn canu megis caniat newydd geyr bron *y tron, a'geir bron y petwar anibal, a'r henafieit, ac ni bedrei nep ddyscy y caniat hwnw, *namyn y cant, da'ugain a'r pedeir=mil hynny, *yr ei a brynwyt o'r ddaiar. Yr ei hyny yn yny *halogwyt gan wrage d: can ys gwyryfon ynt: yr ei hyn a ganlynant yr Oen y bale bynac yr *a: yr ei'n a brynwyt ywrth ddynion, sef yn blaenffrwythe'i ddnw, a'r Oen. Ac yn genae yr ei ny chahat ddim twyll: canys *di=bai ytynt geir bron Tron Duw.

Apo. xiiii.
*swn, dwrdd
*taran trwst
*chwa. rae
*yr orsedd eisteddva
*anid
*malpe
*lygrwyt
*el
*digwl diwagul, dibrych, diuan, dinam.

Mat. ii.
*gwsc, breuddwyt.
*Cwyn
*ffo y
*egypt.
*yw
*ar
*val
*siomi
*Dewinion.
*broydd, therviniau
*llwyr, graff.
*griddfan ochain

## Yr Euangel.

Angel yr Arglwydd a ymddangosawdd i Joseph trwy *hun, gan ddywedyt, *Cyvot, a'chymer y mab-bychan a'ei vam, a'*chilia r'*Aipht: a'bydd yno yd yny ddyw ewyfyty: can ys ceisiaw a wna Herod y map-bychan, *er ei ddiva. Ac ef pan ddyhunawdd, a gymerth y map, a'ci vom* o hyd nos, ac a giliodd ir Aipht, ac yno y bu, hyd varwolaeth Herod, * yn y gyflawnit, yr hyn a ddywetpwyt gan yr Arglwydd trwy'r Prophwyt, gan ddywedyt, O'r Aipht y gelwais vy map. Yno Herod pan weles ei *dwyllo gan y * Doethion a ffromawdd yn aruthr, ac ef a danvonawdd [sawdwyr] ac a laddodd yr oll veibion ar oeddynt ym-Beth-lehem ac yn cwbyl o hei chyffinydd, o ddwyflwydd oet, a'than hynny* wrth yr amser a ymofynesei ef yn * ddichlin ar doethion. Yno y cyflawnwyt yr hyn a ddywetsit can Jeremias y Prophwyt, gan ddywedyt, Llef a glywet yn Rhama, galar, ac wylofain* a chwynvan mawr: Rachel yn wylo am hei phlant, ac ny vynnei hei chonfforddio, can nad oeddynt.

# Y Sul yn ol die natalic

## Y Collect.

Oll alluawc ddew, yr hwn a roddaist i ni. &c. Val ar ddie natalic Christ.

Galat. iiii
*val, plentyn.
*er i bot
*arffedogon tutorion.

## Yr epistol

Hyn ydd wyf yn ei ddywedyt, tra bo yr etivedd yn *vachcen, nid oes gohanieth rhyngthaw a'gwas, *cyd bo ef yn Arglwydd ar y cwbyl, eithr y mae ef y dan * ymgleddwyr a llywodraethwyr, yd yr amser a'osodes y tat. Ac velly, ninae pan oeddem vechcin yr oeddem yn gaethion y dan gwyddorion y byd.

Eithr

Eithr gwedy dawot cyflawnder yr amser, yd anvones Duw ei vap vn wneithuredic o * wreic, ac yn* wnethuredic y dan y* Ddeddyf, val y gallem dderbyn braint* mabwriaeth. A chan eich bot yn veibion, e ddanvonawdd Duw yspryt ei vap i ch calonae, yr hwn ys y yn llefain, Abba, Tad. Ac velly nid wyt ti mwy yn was, anid map: ac a's map, etivedd hefyd iddi Duw trwy Christ.

Yr Euangel.

LIber * cenedleth Iesu Christ vap Dauid, vap Abrahā. Abraham a * genetlodd Isaac. Ac Isaac a genetlodd Iacob. Ac Iacob a genetlod Iudas, a ei broder. Ac Iudas agē etlod Phares, a Zara o Thamar. A'Phares a genetlawdd Esrom. Ac Esrom a genetlawd Arā. Ac Aram a genetlod Aminadab. Ac Aminadab a genetlawdd Naasson. A' Naasson a genetlawd Salmon. A' Salmon a genetlawdd Booz o Rachab. A' Booz a genetlawdd Obed o Ruth. Ac Obed agenetlawdd Iesse. Ac Iesse a genetlawdd Dauid Vrenhin. A'Dauid Vrenhin a genetlawdd* Solomon o hon oedd [wreic] Vrias. A' Solomon a genetlawdd Roboam. A'Roboam a genetlawdd Abia. Ac Abia a genetlodd Asa. Ac Asa a gentlawdd Iosaphat. Ac Iosaphat a genetlawdd Ioram. Ac Ioram a genetlawdd Osias. Ac Osias a genetlawdd Ioatham. Ac Ioatham a genetlawd Achaz, ac Achaz a genetlawd Ezecias. Ac Ezecias a genetlawdd Manasses. A' Manasses a genetlawdd Amon. Ac Amon a genetlawdd Iosias. Ac Iosias a genetlawdd Iacim. Ac Iacim a genetlawdd Iechonias, a'ei broder yn-cylch amser ei* traigl i Vabylon. Ac yn ol ei treiglo hwy i Vabylon, Iechonias a genetlawdd Salathiel, A' Salathiel a genetlawdd Zorobabel. Ac Zorobabel a genetlawdd Abiud. Ac abiud a genetlawdd Eliacim. Ac Eliacim a genetlawdd Azor. Ac Azor a genetlawdd Sadoc. A' Sadoc a genetlawdd Achim. Ac Achim a genetlawdd Eliud. Ac Eliud a genetlawdd Eliazar. Ac Eliazar a genetlawdd Matthan. A' Matthan a genlawdd Iacob. Ac Iacob a genetlawdd Ioseph, gwr Mair, or hon y ganet Iesu yr hwn a elwir Christ. A'r oll* genedlaethae o Abraham i Ddauid, pedair Cenedlaeth ar ddec: ac o Ddauid yd y treigl ir Babilon, pedair* cenedlaeth ac ddec: ac or treigl i Babylon

*verch, vun, wreigenith
*darestyngedic.
*Gyfraith.
*gynwyse mabwys.
Math. i.
*iachae
*enillodd a gavas
*i Abraham ganet Isaac
*Selef.
*erchynedigaeth, dugiat, symud
*oesoedd.
*oes, to

gellwngwch ymaith. Gwedy hynn yr eistedd Map y dyn ar ddeheulaw gallu Duw. Yno y dywedesont * oll, Yw-ti can hynny yn Vap Duw: Ac ef a ddyvot wrthynt, Ydd yw'chwi yn dywedyt vymbot. Yno y dywesont wy, Pa reid i ni mwy wrth testoliaeth: can ys clywsam ein hunain o ei enae ehun.

*bawp

## Die Iou cyn die Pasc.

### Yr epistol.

i.Cor.xi.

HYn ydd wyf yn eich rhybuddiaw, ac nyd wyf yn[eich] caninol, eich bot yn dawot ynghyt, nyd er lles anid er eniwet. Can ys yn gyntaf dim, pan ych yn ymgynull ir Eccleis, mi glywaf bot ymrysonae yn eich plith: ac ydd wyf yn credy [ei bot yn wir] yn rhywran. Can ys * angenrait yw bot * traws opinione yn eich plith megis yr adwaener yr ei sy yn perfeith yn eich plith. Ac am hyny pan ddeloch ynghyt ir vn lle nyd [hynn] yw bwyta, Swper yr Arglwydd, Can ys pop vn wrth bwyta, a gymer ei swper ehun or blaen, ac vn sy a newyn, arall ysy veddw. A nyd oes i chwi dai i bwyta ac y yvet ynthwynt: a dremygw-chwi Eccles Duw, ac a warthew chwi yr ei nid oes [dim] ganthwynt: pa [beth] ddywedaf wrthych: a gan molaf chwi yn hynn: na chan molaf. Can ys mi a dderbyniais gan yr Arglwydd yr hynn hefyt ac a roddeis y-chwy [nid amgen,] Pan yw ir Arglwydd Iesu y nos hon y bradychwyt ef, gymeryt bara. A'gwedy iddo ddiolwch, ef ei torres, ac a ddyvot, Cymerwch, bwytewch: * hwnn yw yw vyg corph, yr hwn y dorir trosoch: gwnewch hynn er cof am danaf. Yr vn modd hefyt [y cymerth ef] y cwpan gwedy iddaw swpery, can ddywedyt, [Y cwpan hwnn yw'r Testament newydd * yn] vyg gwaet gwnewch hynn cynniner gwaith bynac ac ydd yfoch [e] er coffa am danaf. Can ys cynniuer gwaith bynac y bwytaoch y bara hwnn, ac ydd yfoch y cwpan hwnn ydd ych yn dangos angae yr Arglwydd y'n y ddelo. Can hynny pwy bynac a bwytao'r bara hwnn ac a yvo cwpan yr Arglwydd yn anteilwng, a vydd'anawc * [am ddiystyry] corph a' gwaet yr Arglwydd. Am hynn provet dyn ehun, ac yno bwytaet o'r bara hwnn, ac yfet o'r cwpan hwnn. Can ys yr hwn y bwytao ac a yvo yn anteilwng, bwyt a ac yfet y mae ei * barnedigaeth ehun, [can] nad

*dir
*heresi
*hynn
*phiol
*trwy
*o
*ddienydd ddamnasion

yw

yw yn *iawn-barny am gorph yr Arglwydd. O bleit hyn [y mae] llawer yn weinion ac yn gleision yn eich plith, a' llawer yn *hunaw. Can ys pe in barnem ein hunein, ny in bernit [ni ddim.] Eithyr pan in barnir, ein cospir y gan yr Arglwydd, rac [bot] ein barny yn euawc gyd ar byt. Can hyny, vy-mroder, pan ddeloch ynghyd i bwyta, arhoswch eu gylydd. Ac a bydd * newyn ar nep, bwytaet gartref, rac eich dawot ynghyt i varnedigaeth. Tuac at am pethae eraill, mi ei trefnaf pan ddelwyf.

*ddienydd ddamnasion
*gohann
*cusen, meirw
*chwant bwyt
*er, i'r

Yr Euangel.

YNo y cyfodes yr oll *lliaws o hanynt ac ei ducesont ef at Pilatus. Ac wy a ddechreaesont ei gyhuddaw, can ddywedyt. Hwn yma a gawsam yn troi'r bobyl, ac yn gohardd taly teyrnget * i Caisar, can ddywedyt, * mae ef yw Christ Brenhin. Ac Pilatus a ovynnawdd iddaw, can ddywedyt, Ai ti-yw'r Brenhin yr Iuddaeon? Ac ef atepawdd iddo, ac addywot, Tu ys ydd yn[ei] ddywedyt. Yno y dywot Pilatus wrth yr Archoffeiriait, ac wrth y popl, Nyd wyf i yn cahel dim bai ar y dyn hwn. Ac wyntae * ymlewhay a wnaethant, can ddywedyt. Mae ef yn * cynnurfy'r popul, gan * dany dysc tros oll Iudaea. Ac yn dechrae * o Galilea yd yma. Ac Pilatus pan glypu [son] am Galilea, a ovynawdd, ai dyn o'r * Galilea ytoed ef. A phan wybu *mae vn o gyvoeth Herod yr hanoedd, ef ei danvones at Herod, ac ydd oedd yntae hefyt yn Caerusalem y dyddiae hyny. A'phan weles Herod yr Iesu, ef a lawenechawdd yn vawr: can ys ydd oedd yn hir gantaw am ei weled ef * er es talm, erwydd iddaw glywed [son] llawer o bethae am danaw, ac ydd oedd e yn gobeithiawdd gahel gweled gwnaethy rhyw *arwydd y gantham. Yno ydd * ymholes ac ef am lawer o bethae: eithyr nyd atepawdd ef ddim iddo. Yr Archoffeiriait ar Gwyr llen a safasant ac ei cyhuddesont yn * daerddrud. Ac Herod ef a ei gywdawdwyr ny roesont vri arnaw, ac ei gwatworesant, ac ei gwiscesont ef o wynn, ac a ei danvonawdd drachefyn at Pilatus. Ac ar y dydd hwnw ydd aeth Pilatus a Herot yn gymdeithion: can ys cyn na hyny ydd oedd yn'elyniaeth rhyngthwynt. Yno Pilatus a alwodd ynghyt yr Archoffeiriait a'r popul, ac a ddywot wrthwynt, Chwi dducesoch y dyn hwn ataf, val vn a vai yn troi'r popul, a'nycha, mi ei holeis ef yn eich gwydd, ac ny chevais i vn bai ar y dyn hwn, o'r pethae ydd ywch y'w gahuddaw: na

Luc. xxiii.
*turfa
*ir Ymerotr
*taw
*ymorugo
*cyffroi
*athrawy
*ym
*Galileat
*taw
*llewer dydd
*viragl, wyrthie
*ymgwestiwodd
*groch, daerllyt, yn dra dyval

ddo, na Herod chwaith: can ys anvoneis chwi attaw: a' nycha, dim teilwng o angae ny wnaed * yddaw. Erwydd paam mi ei cospaf ac ei gellyngaf yn rhydd. (Can ys angenrait oedd iddaw ellwng [ryw] vn yddwynt yn rhydd * ar yr wyl.) Yno yr oll lliaws a lefawdd ar vnwaith, can ddywedyt, Ymaith ac ef, a' gellwng Barabbas yn rhydd i ni: yr hwn am * draws gyfodiat a wnaethent yn y dinas, ac am * law ryddiaeth a ddodesit yn-carchar. Yno Pilatus a ddybot wrthyn drachefyn, can ewyllysy rhyddhay'r Iesu. An'd wy lefent can ddywedyt, * Croc, croc ef. Ac ef a ddybot wrthynt y drydydd waith, An'd pa ddrwc a wnaeth ef: ny chefais ynthaw achos angae: am hynny mi ei cospaf, ac ei gellyngaf yn rhydd. Ac 'wyntwy oeddent daerach a llefeu vchel, can erchi ei groci ef: a' ei llefae hwy a'r Archoffeiriait a orvu. Velly Pilatus a varnawdd yddwynt gahel ei h'arch. Ac ef a ellyngawdd yddwent hwn am gyfodiat a llawryddiaeth a * roesit yn carchar: [ys ef] yr hwn a archesent wy, * ac ef a roddes yr Iesu y wnaethy'r ac ef a vynnent. Ac val ydd oeddent yn ei arwein ef ymaith, 'wy ddaliesont vn Simon o Cyren', yn dawot o'r maes, ac arnaw ef y * gosodesont y groc, y'w dwyn ar ol yr Iesu. Ac ydd oedd yn ei ganlyn ef turfa vawr o popul, ac o wragedd, a'r [gwragedd] hyny oedd yn cwynofain ac yn galary drostaw. A'r Iesu a ymchoelawdd attwynt, can dywedyt Merchet Caerusalem nac wylwch drosof vi, 'n amyn wylwch trosoch eich hunain a'ch plant. Can ys, * nycha y daw'r dyddiae y dywedant, Gwyn ei byt yr hespion, a'r * bruoedd ny chenedlesont erioed, ar bronnae ny roesant * sugn. Yno y dechreant ddywedyt wrth y monyddoedd, Syrthiwch arnam: ac wrth y brynnae, Cuddiwch ni. Can ys a's gwnant wy hynn ir prenn ir, peth a wneir ir * crin? Ac ydd oeddit yn arwein gyd ac ef dau ddrygddyn eraill y'w lladd. A' gwedy y dybot hwy i'r lle a elwyt y Pengloc va, yno y crogesont ef, a'r drygddynion: vn ar y ddeheu, aral' ar y * aswy. Yno y dybot yr Iesu. Y Tad, maddaeyddwynt, can na wyddon peth y maent yn ei wneythyd. Ac wy a * barthesant ddillat, ac a * vwriesant goelbreni. A'r popul oedd yn sefyll, ac yn edrych: a'r * llywiawdwyr ei gwatworent y gyd ac wynt, gan ddywedyt, Eraill a * iachaeai: iachaet ehun, a's ef yw'r Christ, yr Etholedic [can] Dduw. A'r milwyr hefyt ei gwatworent ef, can ddawot a' chynnic vinegr ydd-aw, a' dywedyt. A's tu yw'r Brenhin yr Iuddaeon * iachaa tyhun. Ac ydd oedd * yscriben wedyr yscrivenny * ar ei uchaf, mewn llythyrae Groec, a' Llatin, ac Hebreo, HUNYTUR BRENHIN YR IUDEON. Ac vn or drygddynion a grocesit, ei cablawdd ef, gan

ddywe

* ne, gan thaw
* erbyn
* derbysc
* laddfa
* Croesa
* ddodesit
* a rhoi. &c.
* dodesont y groes
* wele, synna
* bolleu
* laeth
* glemydd
* sych, gwyw
* asau
* rancsant
* dynvesont
* gyrrae, gwtyse
* penaethieit
* waredai
* ymwared
* raifft
* uch ei ben

ddywedyt, A's tu yw'r Christ, *iachaa* tuhun a' ninae. A'r llall a atepawdd, ac ei* ceryddawdd ef can ddywedyt, Anyd oes arnat ofn Duw, a' thydy yn yr vn barn? Ac ydd ym ni yn gyfiawnus [yma], can ys ydd ym ni yn * derbyn y pethae y haeddawdd ein gweithredoedd: eithyr ny wnaeth hwn ddim* ancymmesur. Ac ef o ddywot wrth yr Iesu, Arglwydd, coffa vi pan ddelych ith teyrnas. A'r Iesu a ddywot wrthaw, Yn wir y dywedaf y ti, heddyw y byddy gyd a mi ym-paradwys. Ac ydd oedd hi yn cylch y chwechet awr, ac a vu tywyllwch tros yr oll*ddaiar, yd y nawvet awr. A'r haul a dywyllwyt, a llen y Templ a * rwydwyd trwy yei chanawl. A'r Iesu a lefawdd a llef vchel, ac a ddywot, y Tad, ith ddwylaw y cymennaf vy yspryt. A gwedy yddaw ddywedyt hyn, ef * a anhetlawdd [allan] yr yspryt. A' phan weles y Cannwriad yr hyn a wnaethpwyt, ef a roes 'ogoniant i Dduw can ddywedyt, yn sicur ydd oedd y* dyn hwn yn gyfiawn. A'r oll *turfa ar a ddauthei ynghyt er y golwc hynn, cann weled y pethae a ddaroedd, a guresont ei dwyvronae, ac ymchoelesont. A' ei oll gydnabot a safent o hir-bell, a'r gwragedd a ei dylynesent ef o'r Galilea, gan edrych ar y pethae hynn. * A' nycha, ydd oedd gwr a ei enw Ioseph, cygcorwr, gwr da, a' chyfiawn. Ef ny chytunesei a ei cygcor n'ac a'ei gweithredoedd hwy, [ac ef a hanoedd] o'r Arimathia, dinas yr Iuddaeon: yr hwn oedd yntef yn* edrych am teyrnas Duw. Hwn yma aeth at Pilatus ac archawdd gorph yr Iesu, ac ei tynnawdd i lawr, ac ei * amdoes mewn lliein, ac ei gosodes mewn * monwent wedy'r * drychy o graic, lle ny roesit nep er ioet. A'r dydd hwnw oedd y Darpar, a'r Sabbath oedd yn nesay. A'r gwragedd hefyt yr ei oedd yn darddilyn, yr ei a ddaethont gyd ac ef o'r Galilea, a edrychesont ar y * vonwent a' pha vodd y *gesodesit ei gorph ef. Ac wynt a ymchwelesont, ac a paratoesont aroglae ac * wylmentae ac a' orphoysesont y [dydd] Sabbath * erwydd y gorchymyn.

*a roes sen iddo
*ymwared
*ymserthawdd ac
*haeddus
*cahel
*ynghamanvad
*dir
*Hef a ddiffoddod ffoddod
*gwr
*popul
*Ac wele
*dysgwyl
*amwiscodd
*bedd
*dorri
*bedd, edrot
*dodesesit
*ireidiae
*wrth

## Ar ddydd Gwener y Crolith.

### Y Collect.

OLl * gyvoethoc ddhuw, ni atolygwn yty edrych o hanat yn rasusawl ar dy * duylu hwn yma, dros yr vn y bu boddlawn gan Iesu Christ gael i bradychu, ai roddi yn-dwylaw * dynion enwir a' dyoddef angau ar y *groc: yr hwn a vywoca ac a deyrnasa yn oes oesoedd. Amen.

*ollnawc
*deulu, dylwyth
*popl
groes

OLl-alluawc a thragwyddawl Dduw, trwy yspryt ya vn y llywadraethir ac y santeiddir oll corph yr Eccles: derbyn eyn adolwyn a'n gweddiau, yddym ni yn i hoffrwm geyr dy vron dros bob gradd o ddynion yn dy sanctaidd gynulleidfa, yd pan vo i bob aelod o hanynt yn eig alwedigeth aig wasaneth allu yn gywir ac yn dduwiol dy wasaneuthu, trwy eyn Arglwydd Iesu Christ Amen.

O Drugaroc Dduw, yr hwn a wnaethost bob dyn, ac ny chasey ddim or a wnaethost, ac ny vynyt varwoleth pechadur, anid yn hytrach ymchwelyt o hanaw a' byw: truhartha wrth yr oll Iuddeon, Twrkied, Anffyddlonion, ac Hereticieit, a'chymer o ddiwrthynt oll anwybodaeth, caledwch calon, a' * thremic ar dy' air. Ac velly dwc wynt adref wynefydedic Arglwydd, at y ddefeit, yd pan yw yddynt bot yn gadwedic ym-plith* gweddillion y gwir Israelieit, a' bod yn vn gorlan, dan yr vn bugail Iesu Christ eyn Arglwydd: yr hwn a vywia ac a deyrnasa yn oes oesoedd. Amen.

*dirmig
*gwarg-red

Yr epistol.

Hebr.x.
*Gyfraith
*ddibait
*deilyngy perfeithi-aw
*garthesit
*buchot
*tros
*tros
*wrth gyfreith

Y* Ddeddyf ac yn yddi wascot pethae da ar ddawot, ac nyd yn wir ddelw, y pethae, ny ddychon hi byth a'r aberthae hynny yr ei a offrymant wy bop blwyddyn yn* oystat* sancteidia'w y dyvodiaid atei. A' phe amgen, a ny pheidiesit a ei h' offrymy, can na bysei mwy gyd'wybot pechotae, can yr offrymwyr a * buresit vnwaith: Eithyr yn yr [aberthe] hynny [y mae] atgoffa pechotae pop blwyddyn. Can ys ny ddychon gwaed * tairw a' * gaifr ddiley pechotae ymaith. Erwydd paam pan ddel ef ir byt, y dywaid, Aberth ac offrwm ny's mynnyt: eithyr corph a gyfansodeist y my. Poeth-ebyrth ac ebyrth * pechatae ny bu gymeradwy genyt. Yno y dywedais, Wely vi yn dyvot (ym-pen cyntaf ir llyver ydd yscrifennir o hano vi) bot i mi wneythy' dy ewyllys Dduw. Uchot, pan ddywot, Aberth ac offrwm, a phoeth-ebyrth ac ebyrth * pechot ny's mynnyt, ac ny bu gymeradwy genyt, (yr ei a offrymir * erwydd y Ddeddyf) yno y dywedawdd, Nycha, vi yn dyvot y wneythydy ewyllys, Dduw, y mae ef yn tynnu ymaith

y cyntaf,

y cyntaf, er gosot y dywethaf. Trwy'r hwn ewyllys i'n sanctei-
ddiwyt, [ys ef] trwy *offrymiat corph Iesu Christ [a wnaed] ar
vnwaith. A' phop offeiriat a saif paunydd geir bron yngwasa-
ethu wr yn gwasanaethu ac yn offrymy yn vynych yr vn ryw
ebyrth, yr ei ny allant byth * ddileu pechotae ymaith. Eithyr
[y gwr] hwn gwedy iddaw offrymy vn aberth tros pechatae,
ys ydd yn eistedd yn tragyvyth ar ddeheulaw Duw, ac weithi-
an yn aros y'ny osoter ei elynion yn vainc draet ydd-aw. Can
ys ac vn offrwm y * cyssecrawdd ef yn tragyvythawl yr ei a
sanctediwyt. Can ys yr Yspryt glan hefyt a testiolaetha i ni:
can ys gwedy iddo ddywedyt ymblaen, Hwn [yw'r] * Testa-
ment a wnaf yddwynt yn ol y dyddiae hynny, medd yr Argl-
wydd. Dodaf vy-Deddfeu yn eu calonae, ac yn ei meddyliae
ydd escrivennaf wy. A' ei pechatae a' ei camweddae ny cho-
fiaf mwy. Wellyn lle [bo] * gellyngdawt am y pethae hynn, nyd
[oes] mwy o'r offrymyat tros pechot. Can hyny broder, pan
yw trwy waet Iesu y gallwn bot yn* hyderus y vynet y mywn
i'r Cyssecr va, rhyd y ffordd newydd-vyw honno, a * gyssecra-
wdd ef i nyny, trwy'r llenn-gudd, ys ef yw, trwy ei gnawt ef.
[A chan vod i ni] * Offeiriat mawr, yn 'oruchaf ar tuy Dduw,
awn yn nes * trwy galon gywir, a chadernit ffydd, wedy'n pu-
ro ein calonae oddy wrth gydwybot ddrwc, a' golchy ein cyrph a
dwfyr glan. Cadwn gyd a nyny * gyffes gobeith yn ddi yscoc
(can ys ffyddlawn [yw'r hwn] a addawodd) a' chydystyrwn ae i
gylydd, er peri cariat, a' gweithredoedd da, nyd gan ymadael y
* gydymriaeth ys y rhyngom a ei gylydd, megis [y mae] arver
yr ei: eithyr ymgygorwn [ei gylydd,] a hyn yn vwy can ychwi
weled y dydd yn nesay.

*offrymoigeth
*ddiva-doddi.
*perfeithyawdd.
*Dygynnibot a ammodaf ac wynt
*maddeuant
*eho fit
*bartoawdd
*Archoffeiriat
*a chalon
*broffes addefiat
*gymddeithas

### Yr Euangel.

GWedy ir Iesu ddywedyt [y pethe] hynn, ydd
aeth ef a ei ddiscipulon dros* garthe Cedron,
lle ydd oedd gardd, yr hon ydd aeth y mewn,
[ef] a ei ddiscipulon. Ac Iudas yr hwn a ei
bradychodd ef, y adwaenei hefyt y lle: can ys
mynych y bysei'r Iesu yn* trainwy yno ef a
ei ddiscipulon. Ac Iudas wedy iddo gahel
*catyrfa o wyr a' swyddogion, gan yr Archo-
ffeiriait, ar Pharisaiait, a ddeuth yno a' chanthwynt * dan-le-
stri d' * thewynion ac arvae. Yno'r Iesu yn gwybot pop peth a
ddelei arnaw, aeth rhacddaw, ac a dywot wrthynt, Pwy dd'ych

Ioan. xviii.
*avon, nant
*cyrthy treiglo
*cywdawt
*lanterni
*ffaculaes tyrs

yn ei gaisiaw? Wy ei atepesont, Iesu o Nazaret. Yr Iesu a ddywot wrthwynt, Mybyy yw ef. Ac Iudas hefyt yr hwn a ei bradychodd ef, oedd yn sefyll gyd ac wynt. Ac* er cynted y dywot ef wrthwynt. Mybyy yw ef, wy aethant yn* wysc ei cefn, ac a syrthiesont ir llawr. Yno y gofynodd yddynt drachefyn, Pwy ydych yn ei gaisiaw? Ac wy a ddywedesont, Iesu o a Nzaret, Yr Iesu a atepawdd, Dywedeis y-chwy, mae mybyy yw ef: can hyny a's mi a gaisiwch, gadwch ir ei hynn vyned ymaith, [Hyn a vu] er cyflawny'r gair yr hwn a ddywedesei ef, Or ei'n a roddeist ymy, ny cholleis i * nebun. Yno Simon Petr ac canthaw gleddyf, ei tynnawdd, ac a drawodd was yr Archoffeiriat, ac a dores ei glust ddeheu ymaith. Ac enw yr gwas ydoedd Malchus. Yno y dywot yr Iesu wrth Petr, Dod dy gleddyf yn y wain: A nyd yfaf * or cwpan a roddes [vym] Tat ymy? Yno'r * gywdawt a'r *penciwdawd a' swyddogion yr Iuddaeon a ddaliesont yr Iesu, ac ei rhwymesont, ac ei ducesont at Annas yn gyntaf (can ys * chwegrwn y toedd ef i Caiaphas, yr hwn oedd Archoffeiriat y vlwyddyn hono) ac Caiaphas oedd hwn a roesei gyngor ir Iuddaeon mae rhaidiol oedd i vn dyn varw tros y popul. Ac Simon Petr oedd yn canlyn yr Iesu, a'discipul arall, a'r discipul hwnw oedd yn adnabyddus* gan yr Archoffeiriat: am hyny ydd aeth ef y mewn gyd a'r Iesu i lys yr Archoffeiriat. Ac Petr oedd yn sefyll allan wrth y drws. Yno ydd aeth allan yd discipul arall oedd adnabyddus gan yr Archoffeiriat, ac a ymddiddanawdd ar * ddrysores, ac a dduc Petr y mywn. Yno y ddrysores a ddywot wrth Petr, Anyd ywti thef yn vn o ddiscipulion y dyn hwnn? Ef a ddywot, Nac wyf. A'r gweision a'r swyddogion a savent yno, yr ei a wnaethent dan glo: can ys oervel ytoedd, ac wy a ymdwymnent. Ac Petr hefyt a safai yn ei plith, ac a ymdwymeni. Yno'r Archoffeiriat a ymofynawdd a'r Iesu am ei ddiscipulion, ac am ei ddysc. Yr Iesu a atepawdd ydd-aw. Mybi a ymadroddeis ar * oystec ir byd, mybyy vyth oedd yn * athrawy yn y Sinagog ac yn y Templ, lle y dawei r' oll Iuddaeon ynghyt yn oystat, ac yn * guddiedic ny ddywedais i ddim. Paam y gofynny i mi? gofyn ir ein am clywsant, pa beth ddywedeis wrthwynt: * nycha, wyntwy a wyddant pa beth a ddywedais. Gwedy iddaw ddywedyt y pethae hyn, vn or swyddogion oedd yn sefyll geir llaw, a drawodd yr Iesu a [ei] wialen, gan ddywedyt, A atepy'r Archoffeiriat velly? Yr Iesu ei atepawdd. A's dywedais yn ddrwc, testolaetha or drwc: ac a's dywedais yn dda paam i'm trawy? Ac Annas ei danvones ef yn rhwym at Caiaphas yr Archoffeiriat. Ac Simon Petr oedd yn sefyll ac yn

Marginal notes:
*cy
*llwyrtho
*yr vn
*yr
*dynda,
*copten
*tad yng hyfraith
*ar
*porthores
*ar gyhoedd
*dyscy
*ddirgel, dan llaw
*wele
*gernodiawdd

ymdwy-

ymdwymaw, a' dywedesont wrthaw, A nyd yw tu hebyt yn vn oei ddiscipulon ef? Ef a wadawdd, ac a ddyvot, Nac wyf. Un o weision yr Archoffeiriat, car i hwn y toresei Petr ei glust, a ddyvot [wrthaw] Any welais i dydy yn yr 'ard gydag ef? Ac yno Petra wadawdd trachefyn, ac yn y van y canawdd y ceiliawc. Yno y ducesont yr Iesu o ywrth Caiaphas ir dadlaeduy. A'r borae ytoedd hi, ac wyntwy nid aethant ir dadlaeduy, rac eu halogy, anyd mal y gallent vwyta yr Pasc. Pilatus yno ayth allan atwynt, ac a ddyvod, Pa achwyn 'sy genwch yn erbyn: y dyn hwnn? Atep a wnaethant a' dywedyt wrthaw, Pe bysei hwn eb wneythyr * drwc ny roddesem ni ef atad. Yno y dyvot Pilatus wrthynt, Cymerwch-chwi ef, a bernwch ef * wrth eich * deddyf eich hun. Yno y dyvot yr Iuddaeon wrthaw, Nid * rydd i ni roi nep i anghae. [Hynny vu] er cyflawny'r gair a ddywedesei'r Iesu, gan arwyddocay pa angae y byddei varw. Uelly Pilatus aeth y mewn ir dadlaeduy trachefyn, ac a alwodd yr Iesu ac a ddyvot wrthaw. Ai-tu yw'r Brenhin yr Iuddaeon? Yr Iesu a atepawdd [iddaw,] Ac o honat tuhun y dywedy hynn, ai er eill ei dyvot yty am danaf? Pilatus a atepawdd. Ae Iuddew * yw-vi? dy * genedl, dy hun a'r Archoffeiriat, a'th roesan di ataf vi. Pa beth a wnaethost? Yr Iesu a atepawdd Uyi * teyrnas i nid yw o'r byt hwnn: pe o'r byt hwnn bysei vym-teyrnas, yn wir vyggwasanaethwyr a ymladdent, mal na'm rhoddit ir Iuddaeon: an'd yr awrhon nid yw vyi teyrnas o ddyma. Pilatus yno a ddyvot wrthaw. Can hyny ai * Teyrn ytwyt? Iesu a atepawdd. Tu ys y'n dywedyt mae * Teyrn ytwyf: er mwyn hyn i'm ganet, ac er mwyn hyn y dauthym ir byt, 'sef i testolaethy * ir gwirionedd: pop vn a hanyw o'r gwirionedd, a * wrendy vy lleferydd. Pilatus a ddyvot wrthaw, Pa beth yw gwirionedd? A' gwedy iddaw ddywedyt hyn, ef aeth allan drachefyn at yr Iuddaeon, ac a ddyvot wrthwynt, Nyd wyf yn cahel vn bai arnaw. Anid mae genwch ddevot, vot i mi ellwng ychwy vn yn rhydd * ar y Pasc. Uelly a ewyllysiwch i mi ellwng i chwi yn rhydd * Brenhin yr Iuddaeon? Yno y llefesont oll drachefyn, can dywedyt, Nyd hwnn, amyn Barabbas a'r Barabbaas hwnw oedd * Leidr. * Yno y cymerth Pilatus yr Iesu ac * ydd yscyrsiawdd ef, A'r milwyr a blethesont coron o ddrain, ac ei gesodesont ar ei benn. Ac a * roesont wisc * burpur am danaw, ac a ddywedesont, Henpych well Brenhin yr Iuddaeon. Ac wy a * ei trawsant ef a [ei] gwiail. Yno Pilatus aeth allan trachefyn, ac a ddyvot wrthynt, * Nycha, ydd wyf yn ei ddwyn ef allan ychwi, val y gwypoch, nad wyf yn

*afrifet
*erwydd, yn ol
*Cyfraith
*cyfreithlawn
*wy
*nasion
*brenhiniaeth
*Brenhin
*Brenhin
*gyd a'r
*glyw
*erbyn pryd y mynediat
*Deyrn
*lawrysddioc
*Ioan. xix.
*yffrywilliodd
*dodesont
*coch
*cernodiesont
*Wele

cahel vn bei arnaw. Yno y dueth yr Iesu allan yn * arwain coron o ddrain a gwisc* purpur. Ac [Pilatus] a ddywot wrthwynt, * Nycha'r dyn. Yno yr Archoffeiriait ar swyddogion pan welant ef, a lefesant, can ddywedyt, * Croc, croc [ef] Pilatus a ddywot wrthwynt, Cymerw-chwi ef a'i chrogwch: can nad yw vi yn cahel bai arnaw. Yr Iuddaeon a atepesont yddaw, y mae i ni * Ddeddyf ac * erwydd ein Deddf ni, ef ddyly varw, can yddaw ei wneythyd ehun yn Map Duw, A' phan glypu Pilatus yr ymadrodd hwnw, ef ofnes yn vwy, ac aeth drachefyn ir dadlaudy, ac a ddywot wrth yr Iesu, Ob'le ith [han] yw ty? A'r Iesu ny roddes vn atep iddaw. Yno y dywot Pilatus wrthaw, A ny ddywedy [di beth] wrth y-vi? A ny wyddost vot i mi veddiant ith groci, a' bot i mi veddiant ith ellwng? Yr Iesu a atepawdd, Ny byddei yty dim meddiant yn v'erbyn, pe na's roesit y ty odduchod: can hyny yr hwn a'm rhoddes yty, y sy vwy ei bechot. Ac o hynny allan y caisiawdd Pilatus y ellwng ef: an'd yr Iuddaeon a lefent, gan ddywedyt, A's * gellyngy di hwnn, nyd wyt ti gar i Caisar: [can ys] pwy bynac ei gwna ehun yn Brenhin, ef a ddywait yn erbyn* Caisar. Pan glywodd Pilatus yr ymadrodd hynny, ef a dduc yr Iesu allan, ac a eisteddawdd ar yr orsed-[fainc] yn y lle a elwyt y Palmant, ac yn Hebreo Gabbatha. Ac ydd oedd hi yn ddarpar y Pasch, ac yn cylch y chwechet awr, ac ef a ddywot wrth yr Iuddaeon * Nycha eich Brenhin. Ac wy a lefent, Ymaith ac ef, croc ef. Pilatus a ddywot wrthwynt, A crocaf vi eich Brenhin? Yr Archoffeiriait atepesont, Nyd oes y ni Brenhin oddieithr Caisar. Yno Pilatus ei rhoes ef yddwynt, y'w groci. Ac hwy gymersont yr Iesu ac ei ducesont ymaith. Ac ef a dduc ei * groc, ac a ddeuth i le a elwit y Penglocva, yr hwn a elwir yn Hebreo Golgotha: lle crogesont ef, a' dau eraill gyd ac ef, vn o pop parth, a'r Iesu yn y cenawl. Ac Pilatus a escrivenawdd titul ac ei gesodes ar y * groc, ac ydd oedd wedy'r escriveny IESU O NAZARET BRENHIN YR IUDDAEON. A'r titul hwn a ddarlleawdd llawer o'r Iuddaeon: can ys y crogesit yr Iesu yn agos i'r dinas: ac ydd oedd yn yscrivenedic yn Hebreo, Groec, a' Llatin. Yno y dywot yr Archoffeiriait yr Iudaeō wrth Pilatus, Nag yscrivena, y Brenhin yr Iudaeon. Pilatus a atepodd, yr hyn a escrivennais, a escrivennais. Yno'r milwyr wedy ydd wynt grogi'r Iesu, a gymersont ei ddillat ac ei gwnaethant yn bedair rhan, i bob milwr ran, ai bais [ef:] a'r bais oedd *yn divniat, wedy'r wehau o'r cwr uchaf trwyddhei. Can hyny y dywedesont wrth ei gylydd, Na * rannwn hi, and bwriwn

*dwgy, dwyn, gwisco.
*porphoroch
*wele, llyma
*Croesa
*Gyfraith
*wrth, yn ol
*maddeu, rhyddhey
*ymprawtr
*Wely
*groes
*groes
*eb wniad
*ohanwon pharthwon

am dennei, pwy bieuwydd. [Hynn a vu] er cyflawni yr Scrythur a ddywait, Rhanesant vyggwisc yn ei plith, ac am vym-pais y* bwriesont goelbrenni . Welly'r milwyr wnaeth hyn yn ddiau. Yno y sefynt wrth groc yr Iesu ei vam, a chwaer ei vam Mair [gwraic] Cleophas, a Mair Magdalen. A'phan weles yr Iesu ei vam, a'r discipul yn sefyl'ger llaw y garei ef, y dywot wrth ei vam, Wreic, wely dy vap. Yno dywot wrth y discipul,* Wele dy vam: ac or awr hono y cymerth y discipul y-hi* a to adref. Ar ol hynny pan wybu yr Iesu bot pop peth wedy'r * ddybenny er mwyn cyflawny'r Scrythur, e ddywot, Mae arnaf sychet. Ac ydd oedd [yno] lestr wedy'r osot yn llawn o vinegr: ac wy a lanwesont *yspong o vinegr: ac ei roesont ynghylch [paladr] hyssop, ac ei*dodesont wrth ei enae. A'gwedy i'r Iesu gymeryd* yr vinecr, y dywot, *Dibennwyt . Ac aei ben ar ogwydd y rhoddes e yr yspryt. Yr Iuddeon yno (can y bot yn Ddarpar, rac bot y cyrph yn aros* ar y groc ar y [dydd] Sabbath: (can ys mawr oedd y Sabbath hwnw) a ddeisyfesont ar Pilatus gahel dryllliaw y escairie hwy, aei tynnu i lawr. Yno y daeth y milwyr, ac a ddryllieisont esceirie'r cyntaf, ac [ysceiriae'r] llall , yr hwn a grogesit gyd a'r [Iesu] An'd pan ddaethant at yr Iesu a ei weled wedy marw eisioes, ny ddryllesont y esceirie ef. Eithyr vn o'r milwir a gwaew a* wanodd y ystlys ef, ac yn van ydaeth allan waed a dwfyr. A'r hwn a welawdd, a testolaethawdd , a gwir yw y destoliaeth ef: ac ef a wyr ei bot yn dywedyd gwir, val ac y credochwi. Can ys y pethe hyn a wnaethpwyt, val y cyflawnit yr Scrythur, Ny drillir ascwrn o hanaw, A'thrachefyn e ddywait Scrythur arall, Wy a welant yr vn a*wanasont trywodd. Yn ol hyn Ioseph o Arimathaia yr hwn oedd ddiscipul yr Iesu, (namyn yn ddirgel rac ofn yr Iuddaeon) a archawdd ar Pilatus gahell tynny i lawr gorph yr Iesu. Ac Pilatus a ganiataodd yddaw. Yno y deuth ef ac y cymerth gorph yr Iesu. Ac a ddeuth Nicodemus hefyt, (r hwn yn gyntaf a ddeuthei at yr Iesu o hyd nos] ac a dduc* gymysc or myrh ac Aloes , yn cylch cant* pwys. Yno y cymersont gorph yr Iesu, ac ei* rhwymesont , mewn llieniae a'r aroglae. megis y mae yr aruer gan yr Iuddaeon ar gladdy. Ac yn y van lle crogesit yr Iesu, ydd oedd * monwent newydd, yn yr* honny ddodesit ddyn erioet. Ac yn y van hono y dodesont wy'r Iesu, o achos [dydd] Darpar yr Iuddaeon, can ys bot y* bonwent yn agos.

*am
*tynesit gystylsae
*Nycha
*yw gartref, ai yr eiddaw
*orphen ddiwedy
*yspwrn
*estenesont
*o'r
*Gorphennwyt
*ynghroc
*brathodd
*brathesant trwyddaw
*gyffeith
*punt
*amdot
*allan
*bedd
*hwn
*bedd



66

### Yr Epistol

*Petr.iii.
*o ran
*bywoca wyt
*Can
*llong
*arwydd
*cyfarch
*tu ac at

GWell [yw] (a's ewyllys Duw ei myn) goddef o hanoch â wnaethu'r daioni, nag am wenythy drwc. Can ys Christ hefyt a ddioddefawdd unwaith tros pechatae, y cyfiawn tros yr ancyfiawn, er mwyn ein dwyn at Dduw, ac a'roed i varwolaeth *erwydd y cnawt, ac a *bywiwyt yn yr yspryt. *Trwy'r hwn ydd aeth hefyt, ac y precethawdd ir yspryttion yr oeddynt yngharthar. Yr ei gynt vesent yn anufyddion, pan, o eddit unwaith yn dysgwyl wrth ammyned-dda Dduw yn-dyddiae Noe, tra oeddit yn darpary yr *arch, yn yr hon ychydigion, ys ef, wyth enait vuont gadwetig yn y dwfyr. Ac i hwn hefyd y mae'r *ffigur ys ydd yr awrhon i'n cadw ni, [ys ef] Betydd [yn gyffelyp] nid er bwrw ymaith budreddi y cnawt, anid er *hawl cydwybot da *yn-Duw) gan gyfodiat Iesu Christ, yr hwn ys y ar ddheulaw Duw, wedy mynet i'r nef, ac Angelion, a galluoedd, a'nerthoedd yn ddarestyngedig ydd-aw.

### Yr Euangel.

Mat.xxv i
*chwydd
*bedd, vedd
*clegyr, careic
*bedd
Tiwr
Yn ol
*par
*dydd

GWedy daroedd yddi vyned yn *hwyr, y deuth gwr goludawc o Arimathaia, a'ei enw yn Ioseph, ac yntef hefyt vesei discipul i'r Iesu. Ef aeth ac Pilatus, ac a archodd gorph yr Iesu Yno y gorchymyn awdd Pilatus roi'r corph. Ac Ioseph a gymerth y corph, ac ei amdoes mewn lliain glan, ac ei dodes yn ei *vonwent newydd, yr hwn a naddesei ef *mewn craig, ac a dreiglawdd vaen mawr ar ddrws y vonwent, ac aeth ymaith. Ac yno ydd oedd Mair Magdalen, a'Mair arall yn eisted gyferbyn ar *vonwent. A'r dydd dranoeth yn ol Darpar y Sabbath ydd ymgynullawdd yr Archoffeiriait a'r Pharisaiait at Pilatus, ag y dywesont, *Arglwydd, mae yn gof genym ddywedyt o'r twyllwr hwnaw, tra ytoedd ef eto yn vyw, O vewn tri-die y cyvodaf. Can hyny* gorchymyn [dithef] gadw'r bedd yd ym-hen y tri die, rac dawot ei discipulion o hyd-nos, a'ei ledrata ef ymaith, a'dywedyt wrth y popul, Ef a gyfodes o veirw: ac velly bot y * cyfeiliorn dywethaf yn waeth na'r cyntaf. Yno Pilatus a ddywot wrthwynt, Y mae genych wiliae [wyr] ewch a'goarchedwch mal y gwyddoch. Ac wy aethant, ac a'orchadwesant y bedd gyd a'r gwiliadwyr, ac a enseliesont y maen.

Ar y weddi Voreu ller Psalm **Deuwch, canwn i'r. &c.** y cenir neu y dywedir yr Anthemæ hynn

CHrist yn cyvodi o veirw, yr ywrhon ny bydd marw. Angeu nyd* arglwydie arnaw. Can ys o ei varw, ny bu varw anyd vnwaith y gymryd ymaith [ein] pechot: eithyr o ei vyw, byw ytyw y Dduw. Ac velly yr vnffynyt cyfrifwch eich vnain yn veirw y bechot: eithr yn vyw y Dduw* in Christ Iesu ein Arglwydd.

*orbydd
*ynghrist

CHrist a gyvodawdd drachefn yn vlaenffrwyth yr ei ys y yn*hunaw o bleit mae trwy ddyn y daeth angeu, trwy ddyn y mae cyfodiat y meirw yn dyvot. Can ys mal y mae pop dyn can * Adda yn marw, velly* gan Christ yr adverir pop dyn y vyw eilwaith.

*cuscu
*marwolaeth
*trwy

## Y Collect.

OLl alluawc ddyw yr hwn drwy dy vnmab Iesu Christ, a*orchfygeist angau, ag a egoraist y ni borth y*bywyt tragywythol yn vfyd yr a tolyngwn ytty, megis drwy dy rat espesawl yn ein achub, yd wyt yn peri diseisiadau da in meddyliau: velly trwy dy ddyval gymorth, allu o hannam ei dwyn y berffeithrwydd cyflawn, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd, yr hwn ysy yn vyw ac yn teyrnasu yn oes oesoedd. Amen.

*orvuost
*vuchedd

## Yr Epistol

A'S cydgyfodesoch a Christ, caisiwch y pethae *o dduchot, lle mae Christ yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Rowch, eich *bryd ar y pethae vchod, [ac] nyd ar bethae'sy ar y ddaear. Can ys-meirw ytych, a'ch bywyt a guddiwyt gyd a' Christ yn-Duw. Pan ymddangoso Christ, yr hwn yw'n bywyt, yna ydd ymddangoswchwithae hefyt gyd ac ef*yn-gogoniant. Can hyny marwhewch eich aelodae yr ei ynt ar y ddaear, godinep, aflendit,*an lladrwydd, drucchwant, a'chupyddtot yr hwn yw delw-addoliat. Achos y pethae, hyn y daw digovein t Duw ar y plant * anvfyddtot. Ym pa[veir]y rodiesochwi gynt pan oeddech, yn vyw yn-thynt.

Colo.iii.
*vry
*medwl
*mewn
*anvadwyyn
*gwrthnesic, anhydyn, cyndyn. anvfydd

### Yr Euangel.

Joan.xx.

Y [Dydd] cyntaf or wythnos y deuth Mair Magdalen, yn borae ac y hi eto yn dywyll, * ir bonwent, ac a weles y maen wedy'r dreiglo yd ar y * bonwent. Yno y rhedawdd hi, ac hi deuth at Simon Petr, ac at y discipul arall yr hwn oedd hoff can yr Iesu, ac a ddyvot wrthwynt, Wy a ddugesont ymaith yr Arglwydd or * bonwent, ac ny wyddam p'le y dodesont ef. Petr yno aeth allan, ar discipul arall ac a ddeuthant * ir bonwent. Ac a redesont ill dau ar vnwaith, a'r discipul arall hwn a racredawdd blaen Petr, ac a ddeuth yn gyntaf * ir bonwent. Ac ef a * grymawdd ac a ganvu y llieniae wedy'r osot: er hyny nyd aeth ef y mewn. Yno y deuth Simon Petr ar ei ol ef, ac aeth i mewn i'r * bonwent, ac a ganvu'r llieiniae wedy'r osot, ar * ffunen a vesei * am ei ben, nid wedy'r blygy ynghyt mewn lle * o'r neilltuy. Yno yddaeth y mewn y Discipul arall hefyt, yr hwn a ddeuthei yn gyntaf * ir bonwent, ac ef ei gwelawdd, ac a gredawdd. Can ys yd hynn ny's gwyddent wy yr Strythur, y byddei'r raid ydaw gyfody drachgefn o veirw. A'r discipulon aethant ymaith y'w cartref ehunain.

at y bedd
*bedd.
*bedd
*at y bedd
*at y bedd
*ogwyddawdd
*bedd
*doled
*ar
*wrtho y hun.
*at y bedd

## Die Llun Pasc.

### Y Collect.

O Ll alluawc Dduw yr hwn drwy dy vn Mab Iesu Christ o orchfygaist angau, ac a egoraist i ni borth y * bywyt tragywyddawl: yn vfydd yr attolygwn y ty, megis drwy dy espys'rat yn ein achub y beri dyfeisiau da in meddyliau velly trwy dy wastadawl 'borth allu o hanom ei dwyn i ben da, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd yr hwn a vywoca ac a teyrnasa yn oes oesoedd. Amen.

*buchet

## Yr Epistol

Act. x.

PEtr a agores[ei]enae, ac a ddyvot, yn wir y ddwyf yn dyall na'd yw Duw yn derbyn wrth yr wyneb. Eithyr ym pop [ryw] genetl y nep ai h'ofna ef ac a weithreda* gyfiawyder, ysydd gymradwy gantaw ef. Chwi wyddoch yr ymadrodd a ddanvones Duw i blant yr Israel, gan precethy tangnheddyf trwy Iesu Christ yr hwn ys ydd Arglwydd ar pop peth. [Ys ef] yr ymadrodd a aeth trwy'r oll Iudaea, gan ddechrae yn Galilea, gwedy'r betydd a brecethawdd Ioan, [ys ef yw] modd yr enneiniawdd Duw Iesu o Nazaret* gan yr yspryt glan, ac a meddiant, yr hwn [Iesu] a dramwyawdd gan wneythyt daoni ac iachay yr oll' orthrymedigion gan ddiabol: can ys Duw oedd gyd ac ef. Ac ydd ym ni yn testion ar pop peth ar a wnaeth ef yn tir yr Iuddaeon, ac yn Caerusalem: yr hwn a laddasant wy, ac a grogesont ar bren. Hwn a gyvodes Duw y try dydd dydd ac a wnaeth bod ymddan gos o honaw [yn eglur] nid ir oll popul, anid i'r testion ragetholedigion gan Dduw, [ys ef] i nyni yr ei'n a gytbwytesam ac a gytyfesam ac ef, gwedy ei gyvody o veirw. Ac a orchymynawdd i ni precethy ir popul, a' thestolaethy, mae ef yw'r hwn a ordeiniwyt gan Dduw yn varnwr bywion a'meirw.* Yddo ef hefyt y mae'r oll Prophwyti yn testiolaethy, pan yw trwy y Enw ef yd erbyn* yr oll a credant yn thaw, baddeuant [oi] pechatae.

*vnionder
*trwy
brawdwr
*Gyd
*fawp

Yr Euangel.

Luc. xxiiii.

NYcha ddau or discipulion oedd yn mynet y dref yr hon oedd o ywrth Gaerusalem* stad, triugain* stad, *a'i h'enw Emmaus. Ac wy a ymchwedelewynt wrth ei gylydd am yr oll pethae a wneuthesit. Ac e ddarvu, ac wynt yn cyd ymddiddan ac yn ymddadlae, bot i'r Iesu yntef nesay, a myned gyd ac wynt, eithyr y llygaid wy a atdaliwyt val nad adwaenent ef. Ac ef a ddyvod wrthwynt, Pa ryw ymadroddion yw'r ei hyn sydd genwch wrth y gylydd *dan rodio, [a phaam] ydd ych yn dristion? Ac vn* (ai enw Cleophas) a atepawdd ac a ddyuot wrthaw, A wyt ti yn vnic* yn* ddieithr yn Caerusalem, ac ny wyddost y pethae a ddarvu y dyddiae hyn? Ac ef a ddyvot wrthwent, Pa pethae? Ac wy a dywedesant wrthaw,* Am yr Iesu o

*ystod, ystodwm, os yngh ylch saith mill tir a haner.
*ac a el-
*yn, gan
*yr hwn a elwit
*allwlat
*mor
*Obleit

Nazaret yr hwn oedd Prophwyt, yn alluawc yn-gweithret ac yn-gair geyr bron Duw, a'r oll popul, a pha bodd y darbu ir Archoffeiriait a'n llywyawdwyr i roddy ef i barn angae, a'ei groci. Anid ydd oeddem ni yn gobeithiaw mae ef oedd hwnn a ddelei i brynu'r Israel, ac am yr oll pethae hynn, heddyw yw'r trydydd dydd er pan ddarbuont. A'hefyt, ei or gwragedd o'n plith a yrrodd braw arnam, yr ei ddeuthant yn borae*ir bonwent. A'phryd nachawſant y gorph ef, wy a ddaethant, gan ddywedyt welet o hanwynt wythae weledigaeth o Angelion, yr ei a ddywedynt y bot ef yn byw. Can hyny yr aeth cyfran or ei oe ddynt gyd a nyni*ir bonwent, ac a gawſant yn y modo y dywedeſei'r gwragedd, anid ef ny's gwelſant. Yno y dybot ef wrthwynt, A [chwychwy] yn bydion a hwyrbrydic calon i gredy yr oll pethae a dybot y Prophwyti, a nyd oedd rait i Christ ddyoddef y pethae hynn, a'myned y'w ogoniant? Ac ef a ddechreawdd o Woyſen a'r oll Prophwyti, ac a*es poniawdd yddwynt yn yr oll Scrythyrae y pethae oedd [yn eſcribenedic]*am danaw. Ac ydd oeddent yn neſay at y dref, lle ydd oeddent yn myned, ac ef a gymerth arnaw bynet ym-pellach. Eithyr wy a ei cympelleſon ef, can ddywedyt, Aros gyd a ni: can ys y mae hi yn hwyrhay, a'r dydd*wedy cerddet. Ac ef aeth y mewn y aros gyd ac wynt. Ac e ddarbu, val ydd oedd ef yn eiſtedd*ar y bwrdd gyd ac wynt, e gymerth y bara, ac a ddiolchawdd, ac ei torawdd, ac ei rhoes yddwynt. Yno ydd egorwyt ei llygait, ac ydd adnabuont ef: an,d ef a* divannawdd ymaith, oei golwc. Ac wy a ddywedeſont wrthyn ei gilydd, anyd oedd ein calonae yn lloſci ynam, tra y toedd ef yn ymddiddan a ni*ar y ffordd, a'phan oedd e yn agory i ni yr Scrythurae? Ac wy a gyfodeſont yr awr hono, ac a ymchoeleſon i Caeruſalem, ac a gawſont yr un ar ddecwedy'r ymgynull yn cyt, ar ſawl oedd gyd ac wynt, yr ei a dywedeſant, E gyvodawdd, yr Arglwydd yn wir, ac a ymddangoſawdd y Simon. Yno y manegeſont y pethae (a wnaetheſit) ar y ffordd, a*ph'odd ydd adnabyſent ef ar doriat y bara.

*at y bedd
*at y bedd
*ddeongławdd, odd ſparthawdd
*o hanaw
*ar
*wrth y bort
*ddſolaunodd, gymerwyt
*ryhd ad
*pha bodd

## Sydd mawrth Paſc

Y Collect.

OLli al'uawc Dad yr hwn a roddaist dy vn mab i farw dros eyn pechodeu, ac y godi drachefn dros eyn iawnhad: Caniata i ni velly ddwrw ymaith surdoes drugioni ac enwired val y gallom yn wastad dy wasanaethu ympurdeb buchedd a gwirionedd, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr Epistol.

HA wyr broder, plant cenetl Abraham, a pha'r ei bynac yn eich plith a ofnant Dduw, y chwychwi yd anfoned* gair yr iechyt hyn. Can ys yr ei a drigent yn Caerusalem, a'ei* tywysogion hwy, can nad adwaenent ef, nac eto'airiae'r Prophwyti, rei ddarlleir pop [dydd] Sabbath, wy ei cyflawnesant,* wrth ei barny ef. A'chyd na chawsant ddim achos angae [arnaw,] hwy [hagen] a ddeisyfesont gan Pilatus y iadd ef. A'gwedy yddwynt* gyflawni yr oll bethae a'r escribenesit o hanaw, wy ei* descenesont y ar y pren, ac ei dodesont* ym=monwent. A'Duw ei cyvoddawdd o'r meirw. Ac ef a weled lawer dydd gan yr ei, a ddeuthent y vyny gyd ac ef o'r Galilea i Gaerusalem, yr ein ynt y dystion ef ir popul. Ac ydd ym ni yn manegy ychwy, am yr addewit a wnaethpwyt ir* tadae, [ddarvot] i Duw ei gyflawni y nyni y plant wy, can yddaw gyfodi Iesu, megis ac y mae yn yscrivenedic yn yr ail Psalm, Ti=ywo vy=Map, heddiwith* cenedleis: A'chan iddaw y gyvody ef o veirw, nyd y ymchewlyd mwy* [ir bedd,] ef a ddyvot val hyn, Mi a roddaf ychwy sancteiddiolion [bethae] Dauid, [yr ei ynt] ffyddlonion. Can ys ef a ddywait hefyt mewn man arall. Ny oddefy [di] vy Sanct y weled llwgr[edigaeth [Can ys Dauid gwedy daroedd yddaw wasanaethy [yn] ei oes wrth* e wyllys Duw, y cyscawdd, ac a ddodwyt gyd ei dadae, ac a welawdd llwgredigaeth. Eithr ef yr hwn a gyfodes Duw [y vyny,] ny weland [ddim] llwgredigaeth Am hynny bit* cydnabyddus i chwi hawyr brodyr, mae trwy'r [gwr] hwnn y precethir i chwi'vaddauant pechatae, ac ywrth yr ol pechae'y gan yr ei ny's gellit eich cyfiawnhay trwy* Ddeddyf Moysen, trwy ddaw ef pop vn a greto a gyfiawnir. Ymoagelwch gan hyny, rac dyvot arnoch y peth a ddwedpwyt yn y prophwyti, Welwch dremygwyr, a'rhyveddwch, a'divancollwch can ys* gweithred a weithreda vi yn eich dyddyae, gweithred ny's credwch,* cyd, manego vn y chwi.

Act. xiii.
*cenadwri or
*llywiawdwyr, rheolwyr
*yn, can
*gwplay, or phen,
*tynnesont y lawr
*mewn bedd
*taid
*enilleis cefeis,
*llygredigaeth
*ymplwyf, cyggor
*adnabocededic
*Ddeddyf
*gwaith
*pes

## Yr Euangel

Luc xx.iiii.

*trwh: *gorchestion, questionae *bwyt *grih, dalen, gwenyn *yn ei gwydd *esues *Cyfraith *ac yn y *dyall *am yl

AR Iesu ehun a safawdd yn cenawl ei discipulion ac a ddywod wrthyn, Tangneddyf ychwy A'*braw ac ofn a vu arnynt gan dybieit ydd-wynt weled yspryt. Yno y dyuot ef wrthwynt, Paam ich * trallodir ? * a phaam y mae* traws veddyliae yn codi yn eich calonae? Welwch vyn-dwylo a'm traet, mae myvy yw ef: teimlwch vi, a' gwelwch : can nad oes i yspryt gnawd ac escyrn, mal y gwelwch vot i mi . Ac wedy iddaw ddywedyd [val] hyn, e addangosawdd yddwynt [ei] draed. Ac wynt wy eto eb gredy gan lawenydd, ac yn rhyveddy , ef a ddywot wrthwynt, A oes genwch yma ddim or * llyniaeth ?. Ac wy a roesant yddaw ddryll pyscotyn wedy'rostiaw, ac [ef ef] cymerawdd , ac [ei] bwytaodd geyr* y bron hwy. Ac ef a ddywot wrthwynt, Ll'y ma'r gairiae a ddywedais wrthych, tra oeddwn * eto gyda chwi, [nid amgen] gorbot cyflawny yr oll pethae a ysccribenwyd am danaf yn* Deddyf Moysen, ac yn y Prophwyti * a'r Psalmae. Yno ydd agores ef ei* meddwl hwy modd y dyallent yr Scrythurae, ac a ddyuot wrthwynt, Val hyn ydd escribenwyt, ac val hyn ydd oedd yn rait i Christ ddyodef , a'chyvody drachefyn o veirw y trydydd dydd, a'bot precethy edifeirwch a 'madeuãt pechatae yn y Enw ef ymplith y Cenetloedd oll , can ddechrae yn Caerusalem. Ac ydd yw-chwi yn testion*o'r pethae hynn.

# Y Sul cyntaf gwedy yr pasc

## Y Collect.

OLl alluawc ddnw, &c. Megis ar y Comun ddydd Pasc.

## Yr Epistol

i. Ioan. v.

*Beth bynac orbydd

OLl ar anet o Dduw , a*orchvyga ar byt a' hon yw'r oruchafiaeth a orchvyga'r byt: [ys ef] ein ffydd Pwy'n a orchwyga'r byt, odieithr hwn a gred mae'r Iesu yw Map Duw : Hwn yw'r Iesu Christ hwnw a ddaeth trwy ddwfyr a'gwaet, nid trwy ddwfyr yn vnic anyd trwy ddwyr a'gwaed : a'r yspryt yw'r hwn sy'n dwyn testiolaeth : can ys yr yspryt ys ydd

wiri-

wirionedd. Can ys tri ys ydd, yn dwyn testiolaeth yn y nef, y Tat, y Gair a'r yspryt glan. A'r tri hyn vn ytynt. A'thri sydd, yn testolaethy * yn y ddaiar, yr yspryt, a'r dwfyr, a'r gwaet: a'r tri hynn a gytunant yn vn. A's derbyniwn destiolaeth Duw 'sy bwy: can ys hynn yw testoliaeth Duw, yr hynn a destolaethawdd am ei vap. Hwn a cred ym-Map Duw, ys y a'r testiolaeth yntaw *yntef: hwn ny's cred Dduw, ei gwnaeth ef yn gelwyddawc: can na chredawdd ef y destiolaeth a destiolaethawdd Duw am ei Vap. A * hyn yw'r testiolaeth [ys ef] rhoddy o Dduw i ni bywyt tragywythawl, a'r bywyt hwnn ys yd yn y Vap ef. Yr hwn sydd a'r Map Duw ganthaw, ys yd a bywyt ganthaw: a'r hwn nyd yw map Duw ganthaw, nid oes bywyt gan-thaw.

*at
[illegible]
*ehun
*hom

## Yr Euangel.

Y Dydd hwnw *yn yr hwyr nos, yr hwn oedd [y dydd] cyntaf o'r wyth nos, ac a'r drysae yn gayad, lle ydd oedd y discipulion wedy'r ymgynnull rac ofn yr Iuddaeon, y daeth yr Iesu ac y safawdd yn ei cenawl, ac y dybot wrthwynt, *Tangneddyf ywch. A'gwedy iddaw dywedyt hyn, e ddangoses yddwynt [ei] ddwylaw a'ei ystlys. Yno y llawenychawdd y discipulion wrth welet yr Arglwydd. Yno y dybot yr Iesu wrthwynt drachefyn, *Tangnedyf ywch, megis yd anvones *vym-Tat vyvy, velly yd anvona vi chwithae. Ac wedy iddaw ddywedyt hyny, ydd anhetlawdd ef arnwynt, ac a ddybot wrthwynt *Cymerwch yr yspryt glan. Pwy bynac y maddaeoch ei pechatae, eu maddeuir yddwynt: * [a'r] eiddo pwy pynac yr atalioch, eu a ataliir.

Ioan. xx
*gan
*Heddwch
*Heddwch
*vynhad
*derbyniwch
*ar eino

# Yr ail Sul yn ol y Pasc

## Y Collect.

O Ll alluawc Dduw, yr hwn a roddeist dy vn Map y ni yn aberth tros pechot, a'hefyt yn esempl o vuchedd dduwiol: dyro i ni dderbyn'rat val y gallom byth bot yn ddiolchgar dros ei antraethawl leshaat ef, a'hefyd y ni beunydd ymroi i galyn bendigedic lwybreu ei wir lanaf vuchedd ef.

## Yr Epistol

1. Pet. ii.

Hyn yw'r diolch, a's bydd i nebun erwydd cydwybot tu ac at Dduw oddef blinder [a bot] yn oddefgar wrth gahel cam. Can ys pa glod yw, a's pan ich cernotir am eich drigioni, gymeryd o hanoch yn ddyoddfus: Eithyr a chwi yn gwneythy dioni, a's goddefwch [gã] a'ei gymeryt yn odefgar, hyn yw'r diolwch can Dduw. Can ys er mwyn hynn ich galwyt: erwydd i Christ ddyoddef drosam, gan ydd-aw *adael esempl y ni, er dylyn o hanoch y lwybrae ef. Yr hwn ny wnaeth pechat, ac ny chahat twyll yn ei enae. Yr hwnn pan ymserthlwyt ac ef, nyd ymserthawdd: pan ddioddefawdd ny bygythiawdd, a nid *rhoi'r dialedd yn llawr hwn a barn yn gyfiawn: yr hwn ehun a dduc ein pechatae yn ei gorph ar y prenn, er mwyn i ni wedy *meirw y wrth pechatae, a byw mewn cyfiawnder: gan gleisie yr hwn ich iachawyt. Can ys buoch mal defeit yn myned ar *gyfeiliorn: a nid yr awrhon ich ymchwelwyt at bugail ac *escop eich enediae.

*gady
*ymwrthot
*in gwacedu
*triwy, a,
*ddidro
*ddispirot ddiwenta goll
*curat, golygwr, periglwr, govalwr, carcwr, keidwad

## Yr Euangel

Joan. x.

CHrist a ddywot wrth ei discipulion, Mi yw'r bugail da: y bugail a rydd ei enait dros ei ddefait. Eithr y gwas cyfloc a'r hwn nyd yw bugail, ac* ny pherthyn ... ny phiae'r defait: a wyl y blaidd yn dawot, ac a edy yr defit, ac a gelia, a'r blaidd a ysglyfia ac a darfa'r defeit. A'r gwas cyfloc a *gilia, can y bot ef yn was cyfloc, ac eb ovalu am y defait. Mi yw'r bugail da, ac a adwaen *y [deueit] meuvi, ac im adwenir y gan *y meuvi. Mal yr edwyn y Tat vyvi, velly ydd adwaen i y'r Tat: a mi a ddodaf vy *enit dros [vym] defait. Ac y mae y mi ddefait eraill, yr ei nid ynt or *gorlan hon: a'r hait i mi arweiniaw yr ei hynny, ac wy a wrandawant vy lleferydd: Ac e bydd un gorlan [ac] un bugail.

*nyd eddo'r
*ffoa, ffy
*vyneveiti
*ys ydd i mi.
*einioes bywyt
*ffold, buartb, cayor
*goleth adyn atat

## Y trydydd Sul yn ol y Pasc.

### Y Collect.

OLl alluawc ddiw, yr hwn wyt yn dangos i bawb sy ar *gyfeiliorn lewyrch dy wirionedd, er ei dwyn y ffordd cyfiawnder. Caniatha i bawb a dderbynner y gymdeithas creddyf Christ, allu o hanynt ymogel cyfryw bethau ac y sydd wrthwyneb yw proffess, a chanlyn y sawl bethau oll a vo yn cytuno ar vnryw, trwy ein Arglwydd Iesu Christ. Amen.

*ddisorio

Yr epistol.

Y Caredigion, mi atolygaf ywch, megis *dieithreit a'phererinion, ymgadwch y wrth tra chwantae cnawdol, yr ei a *ryfelant yn erbyn yr enait, ac ymddygwch ac ymwreddiad da ymplith y Cenedloedd pan yw am yr ei ys y yn dywedyt drwc am danoch megis am ddrygweithredwyr, yddynt allu trwy [eich] gweithredoedd da, yr ei a welant, roddy godoniant i Dduw yn-dydd *gowwy. Can hyny ymddarostyngwch i bob ryw ordinhat dyn ir Brenhin mal y oruchaf, ai ir llywiawdwyr, mal ir ei a ddanvonit y ganthaw, er *dialedd y drygweithredwyr, ac er mawl ir ei da. Can ys velly y mae ewyllys Duw, [ys ef] drwy eich gweithredoedd da y galloch oystegy anwyboda eth y dynion yn byd, megis yn ryddion, ac nyd yn cymeryd y rhydit yn * wascot drigioni, a nyd megis gweision Duw. Anrydeddwch bawb: cerwch y brawdoriaeth: ofnwch Dduw: anrydeddwch y Brenhin.

i.Pet.ii

*yr ymweliat

Yr Euangel.

YR Iesu a ddywot wrth ei discipulion, ychydic [enhyt] ac nimgwelwch: a'thrachefyn ychydic [enhyd] a chwi a'm gwelwch: can ys ydd *af at [v-]y Tat. Yno y dyuot [yr ei] o ei ddiscipulion wrth ei 'gylydd, Pa beth yw hynn a dywait ef wrthym, *y chydic [enhyd] ac ni'm gwelwch, a'thrachefyn, ychydic [enhyt,] a'chwi a'm gwelwch, ac, am ydd *af at [v-]y tat Can hyny y dywedesont, Pa beth yw hynn a ddywait ef: Ychydic enhyt: ny wyddam ni pa beth a dywait. A'r Iesu a wybu y bot hwy ar vedr gofyn ydaw, ac dyuot wrthwynt, a ytych yn ymofyn yn eich plith am hynny a dywedais, ychydic [enhyt] ac ni'm gwelwch: a thrachefyn, ychydic enhyt, ac chwi a'm gwelwch:

Ioan.xvi.

*galar- w chgridc venwch, ddwch, nadwch
*tristwch
*temp- amser.
*dyn bach
*plentyn
*diavel

Yn wir, yn wir y dywedat y chwi, yr wylwch ac y* cwynvenwchwi, a'r byd a lawen ha: a'chwychwi a tristeir, eithyr eich* tristit [chwi] a ddaw yn llawenydd. Gwraic wrth escor a vydd mewn tristwch, am ddowod hei* hawr: eithyr cyn gynted ydd escoro ar yr* etivedd, ny chofia hi mwy y* boen, o lawenydd bot dyn wedy'r eni ir byt. A'chwithef yr awrhō y'ch mewn tristwch: eithyr ymwelaf a chwi drachefyn, a'ch calon[eu] a lawenecha, a'ch llawenyddnys dwc nep y ddarnoch.

## Y pedwerydd Sul gwedy'r Pasc

### Y Collect.

OLl alluawg ddiuw, yr hwn wyt yn gwneuthur meddyliau'r oll ffyddlonion y vot o vn ewyllys: caniatha ith bobyl vod yddynt garu yr hynn a orchymynny, a'deisyfu yr hyn addewi val ymplith amrafaleddamweiniae y byd, allu cahel on calonau gwbiwl aros yn lle y mae y gwir lewenydd yw gaffael, trwy Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

Jaco. i.

*enillawdd

*ddechreuat.
*parot i ddyscy
*hwyr
*brynti
*gormodd, chysedd, chr.

POb dawn ddaionus, a phop* rhodd berffeith ys ydd o dduchod, ac yn descin odd ywrth Tat y galauni, y gyd ar hwn nid oes ysmudiat, na gwascote ymchweliat. Efe o ei wir ewyllys a'n * cenedlawdd a gair y gwirionedd, val y byddem[meis] yn* vlaenffrwyth y'greaturieid ef. Can hyny vem brodyr annwyl, bydded pop dyn yn * gyflym i wrandaw, yn* ddiog y ddywedyt, ac yn ddiog i ddigofeint. Can ys digofeint* gwr ny chyflawna gyfiawnder[geirbron] Duw. Erwydd paam rhowch heibiaw bop budreddi, a'* thrahadrigionni, ac erbynwch drwy addfwynder y gair y* blann wyt ynoch, yr hwn a ddichon iacha eich eneidiae.

## Yr Euangel

Yr

YR Jesu a ddyvot wrth ei ddiscipulion, ac yr awrhon ydd af ac yr hwnn am danvonawdd, ac ny ofnyr vn o hanoch i mi, Jb'leydd ai: Eithyr am ddywedyt o nanof y pethae hynn ychwi, y l'anwyt eich calone o dristwch. An'd [ys] dywedaf, ychwy y gwirionedd, *lles yw i chwi vy myded ymaith: o bleit anyd af ymaith, ny ddaw'r *Diddanwr atoch: ac a's af ymaith, mi ei danvonaf atoch. Ac wedy y del ef, ef *argyoedda'r byt *o bechat, ac o iawnder, ac o barn. O bechot, can na chredant ynof: o iawnder, can ys ydd af at *y Tat, a'm'wy ni'm gwelwch: o barn, can ys tywysawc y byt hwn a varnwyt [eisiues.] Mae genyf etwa lawer o bethe y'w ddywedyt wrthych, anid na ellwch ei dwyn yr awrhon: eithyr, pan ddel ef yr hwn ywr yspryt y gwirionedd, ef ach arwein i bop gwirionedd: can na ddyweit ef o hanaw ehun, a-myn pa bethe bynac a glywo, a ddywait, a'r pethae i ddawot a *venaic ef ychwi. Ef a'm gogonedda vi: can ys or* meuvy y derbyn, ac ei meneic ychwi. Yr oll pethe ys ydd ir Tat, sydd *i mi, can hyny y dywedais, o'r ys ydd i mi y dderbyn, ac ei meneic y-chwi.

Joan. xvi.
*rheidiol
*dyhuddwr
*angreiffia, beia
*am
*vy
*ddengys
*sy i myvi
*vanvi

# Y pemped Sul ar ol y Pasc.

## Y Collect.

ARglwydd, o ddiwrth pa vn y daw yr oll ddaioni, caniatha i ni dy vfydd wesion, trwy ddy santaidd ysprydoliaeth, veddwl o hanom y pethau a vo vnion, a thrwy dy ymgleddus* dywysogaeth ei gwneuthyd yn ddibennus trwy eyn Arglwydd Jesu Christ.

*ffordd ia

## Yr Epistol

BYddwch weithredwyr y gair, ac nid gwrandawyr yn vnic, gan eich twyllaw eichunain. O bleit a's gwrendy nep y gair, ac eb ei wneuthur, tebic yw i wr, yn edrych ei wynep naturiol mewn *drych. Can ys wedy iddaw ystyriaw ehun, ydd aef ymaith, ac ydd *ebrgofn yn y van pa wedd ytoedd. Eithyr y nep a edrych ym perffaith *Ddeddyf rhydit, ac a erys [yn thei,] hwn can nad yw yn wrandawr *ancofus, amyn yn * weithydd y wei-

Jaco. i.
gwydr
*anghofie
*Gyfraith
*anmyfyr
*gwynvyd edic dded dfol
*atal, reoli
*chudaw

*geredigion *or

Can ys synwyrolach yw* plant y byt hwnn yn ei cenetlaeth, na* phlant y golauni. A'mi addywedaf yw'ch, Gwnewch y-chwy* gereint* a golud enwiredd, val pan vo eisiae arnoch, ich derbyniant i'r trigvae tragythawl.

## Yr Sul gwedyr Trintot

### Y Collect.

*Ymagoret

A*Gorer dy drugarogion gluhiau i'weddiau dy vfudd weision, ac er mwyn yddynt wy gaffael ei* gofydnion, gwana yddynt erchi cyfryw bethau ac y rango bodd y-ty, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

ii.Cor.iii.

*dilesferydd.

*llesy, buddiaw

*esponiat, deongl.

Tuac at am ysprytawl ddoniae, vorder, ny vynnwn y-chwi anwybot, Gwyddoch mae Cenetloedd oeddech, ac ich dugit at ddelwae* mution, megis ich arweddit. Am hynny, ydd espesaf yw'ch, na'd oes nep yn ymadrodd trwy yspryt Duw, yn galw [yr Iesu yn es communbeth: hefyt nid oes nep a all ddywedyt, mae'r Iesu ywr Arglwydd, anyd trwy'r yspryt glan. Sef y mae* amryw ddoniae, eithyr yr vn yspryt. Ac mae amryw* weithrede, anid yr vn Duw y dyw ys ydd yn gweithredy yr ol'pethae hyny ym-bawb. Eithyr i bop vn y rhoddir* eglurhad yr yspryt er* llesiant Can ys i vn y rhoddir ,trwy'r yspryt ymadrodd doethinep: ac i arall ymadrodd gwybyddaeth, trwy yr vn ryw Yspryt: ac y arall [y rhoddir] ffydd, trwy 'r vn rhyw yspryt: ac y aral, doniae iachau, drwy yr vn rhyw yspryt: ac i aral', *weithredy gweithredoedd-nerthawc: ac i arall, prophwytoliaeth: ac i arall [wybot] gohanion yspryion: ac i arall, amryw davodae: ac i arall *ladmeriaeth tavodae. A'r oll pethae a weithredas ef yn vn ryw yspryt, gan ranny y bop dyn yn ailltuawl megis ydd ewyllysa ef.

### Yr Euangel.

A'gwe-

A'Gwedy ydo ddybot yn agos i Caerusalem, ef a edrychawdd ar y dinas, ac a wylawdd* am denei can ddoedyt, A phe bysei i ti wybot or lleiaf yn dy ddydd di hwnn yma y pethae hyny a[perthynant]ith dangneddyf, onid yr awr hon wy guddiwyt owrth dy lygait. Can ys e ddaw'r dyddiae arnat, ac y bwrw dy elynion glawdd yn dy'ogylch, ac ith amgylchynant, ac ith'oarchaeant o pop-parth, ac ath wnant yn* gyd oystat ar ddaiar, ath plant sydd ynot, ac ny adant ynot vaen ar* vaen, can na adnabuost amser dy* ofwy. Ac ef aeth y mewn ir Templ, ac a ddechreawdd davly allan yr ei'n oeddent yn gwerthy ynthei, a'rei oedd yn prynu, can ddoedyd wrthwynt. Escribennwyt, Y tuy meuvi yw tuy gweddi a'chwi ei gwnethoch yn'ogof lladron. Ac ydd oedd ef yn[eu]dyscu bennydd yn y Templ.

Luk. xix.
*oe phlecit, drostei
*ei gylydd

## Y xi. Sul gwedyr Trintot

### Y Collect.

DUw yr hwn wyt yn egluraw dy ollalluoc nerth yn yn bennaf gan ddangos trugaredd, a'thosturi, amlha dy rad arnom, yd pan vo i ni, drwy gyrchu at dy addeweidion, allu bod yn gyfranogion o'th nefawl dresawr trwy Jesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol

ABrodyr, ydd wyf yn menegi y wch'yr Euangel a* precetheis ywch'yr hon hefyt a dderbyniesoch, ac yn yr hon ych yn* sefyll, a'thrwy'r hon ich iacheiir, a'dych yn cadw ynghof, pa wedd y precethais yhi ychwy, any chredesoch yn over. Can ys yn gyntaf dim, adroddeis y wch'yr hyn a dderbynais, [nid amgen]marw] o Christ tros eyn pechatae, *erwydd yr Scrythurae, a'ei gladdy, a'ei gyvody y trydydd* ydd yn ol yr Scrythurae, a ei welet v gan* Cephas ac yno

1. Cor. xv.
*euangelais

gan y deuddec. Gwedy hynny, y gwelspwyt ef y gan bwy na pempcent broder ar unwaith: o bwy'rei y mae llawer yn aros yd* yr awrhon, a'r ei hefyd gwedy* hunaw. Yn ol hyny, ef a welwyt gan Jaco: yno y gan yr oll Apostolion. Ac yn* o laf ol'y gwelwyd y gen y vi, vegis y gan un antempic. Can ys mi yw'r lleiaf o'r Apostolion, yr hwn nid wyf* addas i'm galw yn Apostol, can vot y mi* erlyn ar Eccleis Duw. Eithyr rat Duw, ydd wyf yr hyn wyf: a'ei rat ef ys ydd ynof, ny bu over: eithyr yn ehelaethach nac why oll y travaeliais: nid mi* hagē anid y Rat duw'r ys ydd y gyd a mi. Can hynny pa un pynac ai myvi, ai wyntwy, velly y precethwn, ac velly y credesoch.

*hyn, heddyw
*cysca
*ddiwethaf
*chwaith, er hyn y

Yr Euangel.

Luc. xviii.

Christ a ddyvod y* parabol hwn wrth y'r ei oedd aei* ymddiriet arnyn ehunain ey bot yn gyfiawn ac yn* dirystyry] yreill, Deu[illegible]r a escenesont ir Templ i weddiaw: un Pharisai, a'r llall* Publican. Y Pharisai oci i sefyll a [weddiawdd val hyn wrthaw ehun, Duw, diolchaf y ty nad wyf mal y dynion ereill, yn* gribdeilwyr] yn ancyfiawnion, yn odinebwyr, ai mal y Publican hwnn. Ydd wyf yn ymprydiaw ddwywaith yn yr wythnos: ddwyf yn decemy cymeint* oll a beddaf, Anid y Publican yn sefyll o hirbell, ny dderchavei na'ei* olygon tu ar nef, an'd curo ey ddwyvron can ddywedyt, Duw, trugarha wrthyf bechatur. Ys dywedaf wrthych, e ddescennawdd [y dyn] hwn y'w duy wedy ei gyfiawnhay, yn bwy na'r llall: Can ys pwy bynac a ymdderchaif, a* ostynger, a'hwynn a ymestwng, a dderchefir.

*ddamec
*tremygr
*tollwr, Cais
*rawsion.
*lygait
*iselir

y xii — Sul ar ol y drindod

## Y xii. Sul gwedyr Trintot

Y Collect.

Ollalluawc a'thragwyddawl ddw, yr hwn yn wastad wyt yn parotach i wrandaw, na nyni i weddiaw, ac wyt ddefodol o roddi mwy nac archom neu a ryglyddom, *dinea arnom amylder dy drugaredd, gan vaddae i ni cyfryw bethau ac y mae yn cydwybot yn eu ofni, a' rhoddi i ni y peth ni* veidda eyn gweddi i erchi: trwy Jesu Christ eyn Arglwydd.

*tywallt
*lefys

## Yr Epistol

CYfryw ymddiriet ys y genym drwy Christ ar Dduw: nyd o erwydd eyn bot ni yn gyfaddas o hanam einhunein i veddwliet dim, megis o hanam einhunain: eythyr yn* addustap] ni [ys ydd] o Dduw. Yr hwn hefyt a'n gwnaeth yn* Weinidogion] digonol yr Testament newydd, nyd [yn weinidogion] y llythyr[en] anid yr yspryt: can ys y llythyren a ladd, *'r [yspryt a* vywha.] Ac ad ywi* wenidogeth angae wedy'r [escriuenny] a llythyre[nneu] a'ei ergraphy mewn main, bot mewn gogoniant, mal na allei plant yr Israel* edrych yn wynep Moysen, can ogoniant ei wynep [pryd] (rhwn ogoniant a* ddibait) pa-wedd na bydd* gweinidogeth yr yspryt mewn mwy o'ogoniant? Can ys a bu* gweinidogeth y varnedigaeth yn-gogoniant, infwy o lawer y rhagora gweinidogeth cyfiawnder yn goniant.

2. Cor. iii.
*digonol·dap
*ond
*bywoca
*vinistr·alt
gauo·gzwydd

## Yr Euangel.

YR Jesu aeth ymaith o* ffiniae Tyrus a'Sidon, ac a ddaeth yd vor Galilea trwy* perfedd cyffiniae y* Dectref. Ac wy adducesont attaw vn byddar, ac[ac] attal dywedyt arnaw, ac a atolygesont iddaw* ddot ei law arno. A'gwedy iddaw ei gymeryt ef or neilltu allan or tyrfa, ef a estennawdd ey vyssedd yn eiglustiae, ac a boerawdd, ac a gyffyrddawdd a ei davot ef. Ac ef a edrychawdd ir nef, can vcheneidiaw, ac a ddywot wrthaw *Ephphatha: ys ef yw, ymagor. Ac yn y man ydd ymagorawdd ey glustiae, ac ydd ymellyngawdd* rhwym ei davot, ac ef a ddywot yn* eglur. Ac ef a orchymynawdd yddwynt na ddywedynt i nep. And pa* vwyaf y gohardd ei yddwynt, mwy o lawer y* manegynt, a'brawychy a wnaethant, can ddoedyt* Tec y gwnaeth ef bop peth: ir byddair y* gwna ef glywet, ac ir mution ddywedyt.

Mar. vii.
*gyffynydd, derbynaeþiae, goror.
*cenol,
*llinyn
*grwym,
Hipatha iawn,
*da
*par

## Y xiii, Sul gwedy Trintot

### Y Collect.

OLl alluawc a'thrugarawc ddiuw, o rodd pwy vn yn vnic y daw bot ith pobl ffyddlon dy wasanaethu yn gywir, ac yn vawledic: Caniatha ni a erfynniwn y ti allu o hanom redec at dy nefawl addeweidion, megis na phallo genym yn y diwedd eu mwynhau: trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr Epistol

Gal. iii.
*ydd y
*Cyfraith.
*trwy, wrth,
*rhwng
*er hyny
*oedd ffoldap.
*trwy' wrth

I Abraham ac*y'w] had y gwnaethpwyt y gaddeweidion. Ny ddyvod ef, Ac ir hadae, megis [yn doedyd] am lawer: eithyr, Ac ith haad, megis am vn, yr hwn yw Christ. A, hyn a ddywedaf, am y* Ddeddyf yr hyn, oedd petwarcant a'dec ar hugain gwedy, nad yw hi yn di-rymio y* Testament] yr hwn a gadarnheit or blaen gan Dduw erwydd Christ, val y dyddimmia hi yr addewit. Canys a's o'r Ddeddyf y mae'r etiveddiaeth, nyd [yw yntef] mwy* or addewit, eithyr Duw a roddes [yr etiueddiaeth] i Abraham wrth addewit. Can hyny i pa peth [y*gwasanatha'r] Ddeddyf* O bleit y* camweddae y gesodet hi yn yddelei yr haad ir hwnn y gwnaethpwyt yr addewit: ac hi a ordeiniwyt gan Angelion yn llaw cyfryngwr. A'chyfryngwr nid yw* i vn: Duw* hagen ys ydd vn. A yw'r Ddeddyf, wrth hyny yn erbyn yr addeweidion?* Na atwo Duw: Can ys pe rhoesit Deddyf a allesei beri bywhay, yn wir e gawsit* cyfiawnder gan y Ddeddyf. An'd yr yscrythur a argaeawdd yr oll pethae y dan pechat, y'n y roddit y gaddewit trwy ffydd Iesu Christ ir sawl a credant.

Yr Euangel

Luc. x.
*chwenychesent
*provi.

GWyn ei byt y llygait a welant y pethae, a welwch-chwi. Can ys dywedaf y chwy, may lawer o Prophwyti, a Brenhinedd a*[vysei] dhaganthynt weled y pethae a welwch-chwi, ac ny's gwelsant: a'achlywed y pethae a glywch, ac ny's clywsant. Ac wele, vn o'r cyfreithwyr yn cody yn ei sefyll, ac yn y* demtiaw ef, can ddywedyt, Athro, pa beth a wnaf er etiveddu bywyd tragywythawl? Ac ef a ddyvod iddaw, Pa beth

a escriuennwyt yn y *Ddeddyf? pa wedd y darlleny? Ac ei atepawdd ac a ddybot, *Car dy Arglwydd Dduw ath oll calon, ac* ath] oll nerth, ac ath oll veddwl, ath cymmydawc mal tuhun. Yno y dybod ef wrthaw, atepeist yn vniawn: gwna hynn, *byw byddy. Eithyr ef yn ewyllysiaw ymgyfiawnhay [ehun, a ddybod wrth yr Iesu, A phwy yw vyg cymydawc? A'r Iesu a* atepawdd ac a ddybod. Ydd oedd gwr* a ddescenawdd], o Gaerusalem i Iericho, ac a syrthiawdd ymplith llatron, ac wy ei espeiliesant oei ddillat, ac ei archollesont ef, ac aethant ymaith, can ei ady yn *lledvarw.] Ac o ddamwain y daeth y wared y ffordd hono rhyw Offeiriat, a'gwedy i ddaw ei ganvod, ef aeth heibiaw o'r tu arall. Ar vn modd y Leuit, gwedy ddybod yn agos at y lle aeth ac a edrychawdd [arnaw,] ac aeth heibiaw or tu arall. Yna rhyw Samarit, wrth *ymddaith *yn agos attaw, a'phan ei cáfu, e dosturiawdd wrthaw, ac aeth attaw, ac a rwymawdd ei *archollion, ac a dywalldawdd ynthwynt olo a'gwin, ac ei dodawdd ar ei *yscrupl ehun, ac ei duc y letuy cyffredin, ac ei *ymgleddawdd. A'thranoeth wrth vyned ymaith, ef a dynnawdd allan *ddwy geniawc, ac ei rhoddes ir lletuywr, ac a ddybod wrthaw, Cymer ei gur ef, a pha beth pynac a draulych ágwhanec, pan ddelwyf drachefyn mi ei talaf ty. Pwy vn or tri hynn ith tyb di, oedd gymmydawc y hwnn a syrthiawdd ymplith y llatron? Ac ef a ddybod, Hwnn a wnaeth drugaredd* ac ef.] Yno, r Iesu a ddybod wrthaw, Cerdda, a'gwna tithae yr vnffynt.

*Gyfraith

*Ecry *eth

*wrthepawdd *aeth i wared.

*amadvyw *swllt *wrneiaw *welien *iddaw

# Y xiiij, Sul gwedy Trintot

## Y Collect.

OLl alluawc a'thragwyddawl Dduw, dod ini angwanec ffydd, gobaith, a'chariat perfaith, a gallu o hanom gaffael yr hyn ydd wyt yn i addaw: gwna inyni garu yr hyn a orchmynnych, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol

DYwedyt yddwyf, Rodiwch yn yr yspryt, ac na *chyflawnwch trachwanteu y cnawt. Can ys y cnawt a drachwenych yn erbyn yr yspryt a'r yspryt yn erbyn y cnawt: a'r ei hynn a *ymwrthnepant eu gylydd, mal na allochwi wneythyd y pethae [bynac] a

Galla. v

*orphenwch

rwyllyliwch. Ac a's gan yr yspryt ich *arweinir, ]nid ywch y dan y Ddeddyf. Hefyt gweithredoedd y cnawt ynt *eglaer, yr ei ynt, torri priodas, *godineb, ]aflendit, *anlladrwydd, delw-addoliat, swyno, ]*casineb, cynnenu, wyniu bdy, llit, ymgeiniae, terfysce, *opinianae, ]cynvigenne, lladdiadae, meddtot, *glythineb, a'r cyffelyb pethae hyn, am pa'r ei y racddywedaf ywch, megis ac y dywedais ywch eisius, 'na bydd ir sawl a wnelont gyfryw betheu, *etiveddu teyrnas Duw. Eithr ffrwyth yr yspryt yw cariat, llawenydd, *tangneddyf, *an-mynedd, tiriondeb, daoni, ffydd[londeb,] *lledneisrwydd, *artempr: ]yn erbyn y cyfryw nid oes Deddyf. Canys yr ei sydd *i Christ a crocesont y cnawt y gyd a ei *wniae[dra]chwantae.

*ylwyser
*anilwc
*fforni grwydd
*puteindra, nwyfiant
*ciniae
*gelyniaethae, digafedd
*gwrthddysc

### Yr Euangel.

Luc, xvii.

AC velly y darvu a'r Iesu yn mynet i Caerusalem, ac ef a ddeuth trwy *ganawl Samaria a'Galilea. Ac mal ydd oedd ef yn myned y mewn i ryw[ben] tref, y cyvarfu ac ef ddec-wyr *gohanglaf, yr ei a safesant o hirbell. Ac wy a godesont ei llefae, can ddywedyt, Iesu, [y] Llywydd, trugarha wrthym. A'phan welawdd ef wy, y dywod wrthynt, Ewch, ymddangoswch ir Offeiriait. Ac e ddarvu, ac wy'n yn mynet y glanhaywyt hwy. Yno vn o hanwynt, pan welawdd ddarvot ei iachay, ymchwelawdd, ac a llef vchel e roes ogoniant y Dduw, ac a gwympawdd ar ei wyneb wrth y draet ef, can ddiolwch yddaw: a'hwn oedd Samarit. A'r Iesu a atepawdd ac a ddywod, A ny'lanhawyt dec: a'ph'le [mae'r] naw? Ny chahat ar a ddelynt i roi gogoniant i Dduw, addieithr yr estrawn hwnn. Ac ef a ddywod wrthaw, *Cyvot, does ymaith, dy ffydd ath iachaawdd.

*berfedd
*clafwr
*Cwyn

## Y xiiij. Sul gwedy Trintot.

### Y Collect.

CAdw, atolygwn y ty arglwydd dy Eccles. ath tragwyddawl trugaredd: a chan naddichon gwendit dyn eb-y-tu ampyd syrthio, cadw ni byth trwy dy borth, ac arwain ni at bob peth buddiol in iechedwrieth, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol.

WElwch veint*y llythyr a escrivenais atoch â llaw vyhun. Cynniver a ewyllysant wneythy'd wyneb tec yn-gnawdol, yr ei hyn a'ch cympellant y veri enwaedy arnoch, yn vnic rhac ey*herlit er mwyn*croc Christ. Câ ys yr ei ydd ys yn-enwaedy arnynt, nid ynt wy yn cadw yr*Ddeddyf, yn amyn deisyfy bot enwaedy arnoch, er mwyn yddynt gahel*ymlawenhau yn eich cnawt. An'd na atwo Duw i mi ym awenheu, a ddieithr yn-croc ein Arglwydd Iesu Christ, drwy'r hwn y crocwyt y byt i mi, a'minef i'r byt. Can ys yn-Christ Iesu ny thal enwaedi at ddim, na di-enwaediat, anyd creatur newydd. A'pha'r ei pynac a ddylynant-lwybr y Reol honn, tangneddyf [a vydd] arnwynt, a'thrugaredd, ac ar Israel Duw. Ac o hyn allan na*volestet nep vi, can ys ydd wyf yn dwyn yn vy-gorph *notae yr Arglwydd Iesu. Y broder, rhat ein Arglwydd Iesu Christ [a vo] gyd a chwi, Amen.

Gal. vi.
*yr epistol
*erlyn
*croes
*valchiaw, ymhoffi
*mannac 'sef cystuodien
ii. Cor. xi.

## Yr Euangel.

NY ddychon*nep wasanaethy dau Arglwydd: can ys ai ef a gasaa 'r naill, ac a gar y llall, ai ef a ymlyn wrth y naill, ac a escaelusa yr llall. Ny ellwch wasanethu Duw a'*golud [bydol.] Can hynny y dywedaf ywch, na ovelwch am eich*bywyt pa beth a vwytaoch, ai pa beth a yvoch: na'c am eich corph, pa beth a wiscoch. Any'd yw'r bywyt yn vwy na'r bwyt: a'r corph [yn vwy] na'r* dillat? Edrychwch ar*ehediait y nef can na heuant, ac ny's metant, ac ny chywenant i'r yscuporiae: ac y mae eich Tat nefawl yn y*porthy wy. Anyd ychwi well o lawer nac yntwy? A'phwy o hanoch cyd gofalo, a ddychon angwanegy vn cufydd ar ei*vaint? A'pha am y*gofelwch am ddillat? Dyscwch pa wedd y mae'r lili'r maes yn tyfu: ny*thrabaeliant, ac ny nyddant, a'dywedaf wrthych, na bu Selef yn ei oll'ogoniant mor trwsiadus ac vn o'r ei hynn.

Math. vi.
*dyn
Mammô. *llyniaeth, buchedd, ein ioes
*Whisc
*adar yr wybr
*bwytto

*poptuy
*in dilledir, gwiscir,
*or nef
*ybryd eriuch
*bryderu

Can hynny a's dillada Duw ysaeun y maes, yr hwnn ys ydd heddyw, ac yvory a vwrir y'r *ffwrn, a ny's [gwna] vwy o lawer erochwi, [yr ei] a'rychydic ffydd? Am hyny na ovelwch, can ddywedyt, Beth a vwytawn? ai beth a yvwn? ai a phabeth ymddilladwn? (Can ys am y pethae hynn oll yr ymovyn y Cenetloedd) o bleit e wyr eich Tat *nefol, bot arnoch eisiae yr oll pethae hynn. Eithyr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Duw a ei chyfiawnder, a'oll pethae hynn a *roddir y-chwy. Ac na *ovelwch dros dranoeth: can ys tranoeth a *ovala drosto ehunan. Digon i ddiernot y *ddrwc ehun.

## Y xvi. Sul gwedy'r Trintot

### Y Collect.

ARglwydd atolygwn y ty, bot ith wastadawl dosturi lanhau ac amddeffen dy gynulleidfa. A'chan na all hi barhau mewn diogelwch eb dy vendigeit nodded, cadw yhi byth gan dy borth a'th ddaioni, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr epistol.

Ephe. iii
*ddioeoch, ymellyngoch
*vchedd
*llawnlloneit
*trwy

ERchy'ddwyf arnoch na *ddeficioch o bleit vymblinderei, er eich mwyn yr hwn yw eich gogoniant. O'rachos hynn y plegaf vyggliniae a'r dat ein Arglwydd Iesu Christ, (o ba vn yr henwir yr oll *tuylwyth] yn y nef ac yn ddaear) y'n y roddo ychwy yn ol golud ei'ogoniant, er eich cadarnhay yn nerthawc trwy y yspryt ef yn y dyn o y mewn, mal y trico Christ yn eich colonae, trwy ffydd mal gwedy eich gwreiddiaw a'ch dyslu mewn cariat, y galloch amgyffred y gyd a'r oll Sainct, beth yw lled, ar hyd a'r dwfnder, ac *vchelder: a'gwybot cariat Christ yr hwn [gariat] y sy vwy rhagorawl nag y gellir ei wybot, y n ych llawner ac *oll gyflawnder Duw. Iddo ef can hyny pwy ddichon wneythyd yn dra amlach uch penn pop peth y archom ai a veddylyō, yn ol y gallu y sy yn gweithiaw ynam, [y bo] gogoniant yn yr Eccles trwy Christ Iesu, *yn yr oll geneclaethae yn oes oesoedd. Amen.

## Yr Euangel.

AC e ddarvu dranoeth bot ir Iesu vynet i ddinas a elwit* Naim, a'* llawer oei ddiscipulion aeth gyd ac ef, a'thyrva vawr. A'gwedy iddaw ddawot yn agos at porth y dinas,* a'nycha, y ducit allan vn marw [sef] vn-map* mam, yr hon oedd weddw, a' llawer o popul y dinas [oedd] gyd a hi. A'phan ganuu'r Arglwydd y hi, e tosturiawdd wrthei, ac e ddyvod wrthei, Nac wyla. Ac ef aeth [yn nes] ac a gyvyrddawdd a'r elawr (a'r ei oedd yn ei ddwyn, a safesont) ac ef a ddyvod, Y [gwas] eivanc, wrthyt y dywedaf, Cyvot. A'hwnn a vysei varw, a godes yn ei eistedd ac a ddechreuodd ddywedyt, ac ef ei rhoddes* y'w [vam. Yno y deuth ofn arnynt oll, ac y rhoddesont'ogoniant y Dduw, can ddywedyd, E gyfodes prophwyt mawr yn ein* cyfrwng, a'Duw a* ovwyawdd ei popul. Ac aeth y gair yma am danaw ar lled tros oll Iudaia, a'thros gwbyl or* wlad o y amgylch.

Luc.vii.
*Nain
*sitryn
*ac wele
*ei vam
*ydoed y
*plith,
*mysc
*goror

## Y xvii, Sul gwedyr Trintot

### Y Collect.

ARglwydd, erfynniwn y-ty bot ith rad'ein rhacflaenu a'n dilyn, a'phar y-ni yn wastad ymroddi i bob gweithred dda, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

MYbi'sef carcharor* yr Arglwydd, atolygaf y'wch'rodiaw o hanoch yn deilwng o'r alwedigaeth ich galwyt, mewn pop* gestyngeiddrwydd meddwl, a'lledneisrwydd, y gyd a* dioddfgarwch, gan ymgynnal ey gylydd trwy gariat, gan vot yn astud i gatw vndap yr yspryt drwy rwymiat* tangneddyf. Vn corph [ys ydd,] ac vn yspryt, megis ac ich galwyt yn vn'o baith eich galwedigaeth. Vn Arglwydd [ys y,] vn ffydd, vn Batydd, vn Duw a'That* oll] yr hwn ys yd duchlaw oll, a'trwy oll, ac ynoch oll.

Ephe.iiii.
*yn yr
*isselder
*an ny.
*heddwch
*pawp

## Yr Euangel.

Luc. x'iii.
*bwyt
*llyma
*haint
dwfr
*latme, rieit ai esponwyr y gyfraith
*gyfatep
*ddamec
*yr ei ac[l]wesit
*brlodas
*erdduni
*erdduni ant, mo liant
*iselir

ACe ddarvu, pan oedd yr Jesu wedy myned i tuy vn or pharisaieit pennaf ar [y dydd] Sab bath, i vwyta *bara, wy a ei dysgwiliesont ef *A nycha, geir y vron ydd oed ryw ddyn yn glaf or *dropsi. Yno'r Jesu a atepawd, ac a ddyvod wrth y* Cyfraithwyr, ar Pharisaieit can ddywedyt, Ae rhydd iachay ar y[dydda] Sabbath? A'thewy a wnaethant wy. Yno ef ei cymerth, ac ei iachawdd ac ei gellyngawdd ymaith, ac ei atepawdd hwy, gan ddywedyt. Pwy o hanoch[a's ei]asyn ne i ych a syrth mewn pwll ac yn y van ny's tyn ef allan ar y dydd Sabbath? Ac ny alle= sant* wrthep yddaw am y pethae hynn. Ef a ddyvod hefyt* pa= rabol wrth y* gohaddwyr pan* ddaliawdd val ydd oeddent yn dethawl yr eisteddleoedd uchaf, ac a ddyvod wrthynt, Pan ith' ohodder gan nep i *neithior, nag eistedd yn y lle pennaf, rac bot vn anrydeddusach na thi wedi'r ohawdd y canto, a'dawot o hwn ath'ohoddawdd ti ac ef, a doedyt wrthyt, Dyro le i hwnn, ac yno dechrae o hanot trwy gywilydd gymeryd y lle isaf. Ei= thyr pan ith ohodder, does, ac eistedd yn y lle isaf, y'ny bo pan ddel yr hwn athohaddes, ddywedyt wrthyt, Y car, eistedd yn u= wch i vyny: Yno y bydd* clod* yt yngwydd yr ei'n a gydeisteddant a thi. Can ys pwy pynac a ymddercha, a* o styngec, a'hwnn a y= mestwng a ddercheuir.

# Y xviij Sul gwedyr Trintot

## Y Collect.

*llygr iad y cythrael

ARglwydd attolygwn y=ty caniata ith pobl rat y ymoglyd rhac* llwgre diavol, ac a phur galon a' meddwl dy ddylin yr vnic Dduw, trwy Jesu Christ eyn Arglwydd.

# Y Epistol

Dyolchaf im Duw yn'ogystat trosoch, am rat Duw, a roddwyt y chwy yn Christ Iesu, can ys darbot eich* cyvoethogy yn-pop peth yntho ef, ym pop rhyw ymadrodd, ac ym pop gwybyddieth: megis y cadarnhawyt testiolaeth Christ ynoch. Mal nad ych* ddefficyol o vn dawn[oll:]gan * ymaros am ymddangosiat eyn Arglwydd Iesu Christ. Yr hwn hefyt ach cadarnha chwi yd y diwedd, *val y byddoch yn* ddihawl]yn-dydd ein Arglwydd Iesu Christ.

i.Cor.i. *golu-dogi, *yn ol *ddysg wyl ymat-gudd *val n ac :wlier,

### Yr Euangel.

GWedy clybot o'r Pharisaieit ddarbot ir Iesu' ostegu y Sadducit, wynt a ymgynullesant ir vnlle. Ac vn o hanwynt yr hwn oedd Gyfreithiwr, a ymofynawdd ac ef, er ei* brovi gan ddywedyt, Athro, pa vn y'wr gorchymyn mawr yn y Ddeddyf? Yr Iesu a ddyvod wrthaw, Cery yr Arglwydd dy Dduw* o'th oll calon, ac o'th oll eneit, ac o'th oll veddwl. Hwn yw'r* cyntaf a'r gorchymyn mawr. A'r ail ys y gyffelip i hwnn, Ceri dy gymmydawc mal* tuhun. Yn y* ddau' orchymyn hynn y* saif yr oll Ddeddyf a'r Prophyti. A gwedy ymgasclu o'r Pharisaeit yn-cyt, y govynnawdd yr Iesu ydd wynt, can ddywedyd. Peth a dybygwch chwi am y Christ? map i* bwy ytyw? Dywedesont wrthaw, [Map] Dauid. Ef a ddyvod wrthwynt, Can hyny pa vodd y mae Dauid yn yr yspryt yn y alw ef yn Arglwydd, can ddywedyt, Dywedawdd yr* Arglwydd wrth vy, Arglwydd, Eistedd ar vym-deheulaw y ny osotwyf dy elynion yn *droet vainc y ty? Ac a's galwadd Dauid ef yn Arglwydd, pywedd y mae ef yn Vap iddaw? Ac ny vetrawdd* vn dyn atep gair iddaw, ac ny* veddiawdd nep o'r dydd hwnw allan* ym gwestiony ddim ac ef mwy[ach.]

Mat. xxii. *demptio *gyfraith *yn dy, ath *croga, glyn, cyn wysir *Ion *lleithic *ep *llyvasa *ymofyn

## Y xix, Sul gwedy r Trintot

### Y Collect.

ODduw can na allwn ni'eb-y-ti ryngu bodd yty: caniatha i weithrediad dy drugaredd vniom a llywiaw eyn calonau, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr epistol.

Hyn a ddywedaf ac a testiolaethaf yn yr Arglwydd, na bo i chwi* mwy rodiaw, megis ac y rhodia Cenetloedd ereill, yn-gwagedd ey* meddwl, wedy'r tywyll'y ei medwl, ac* ymddieithro y wrth buchedd Duw [ol] can yr anwybodaeth ys ydd ynthwynt, o bleit* caledrwydd ey calon: pwy'r ei wedy'r *ddiddarbodi a ymroesont i* anlladrwydd i wneythy'r pop rryw affendit,* yn yn-chwant. Eithyr chwychwi velly ny ddyscesoch wrth Christ. A's bu ychwy y glywet ef, ac a's dyscwyt gantaw, megis ac y mae'r gwirionedd yn yr Iesu, [nid angen] rhoi heibiaw* giwedd hen ymddugiat, yr hendyn, yr hwn a lygrir trwy'r chwantae* twyllodrus, ac ymadnewyddy yn yspryt eich meddwl, a gwisco [am danoch] y dyn newydd, yr hwn* erwydd Duw a* creawyt mewn * deddvolder, a' gwir sancteiddrwydd. Erwydd paam bwriwch ymaith* gelwydd a'dywedwch wirionedd pop vn wrth ei gymmydawc: can ys aelodae ym y'w gylydd. [As] digiwch, ac na phechwch.* Nac ymachlutet haul [ar eich digoveint, ac na* rowch le i' ddiavol. Hwn a ledratawdd, na ladratet mwyach: eithyr yn hytrach* llaburiet a gweithiet a ei ddwylo yr hyn'sy dda, yn y bo ganto y'w roi yr nep y bo mewn eisiae. Na ddauei vn gair* l'wgredic o'ch geneue: yn amyn hwn a vo da* er mwyn] adailadaeth, y ny roddo rat ir gwrandawieit. Ac na thristewch [ar] yspryt glan Duw, trwy'r hwn ich inseliwyt* erbyn dydd] y prynedigaeth. Pop chwerwedd, a'* broch [a'llit, a'* llefain] a* chabl bwrier ymaith y wrthych, y gyd ac ol'ddrigioni. Byddwch *hwynio wrth ei gylydd, ac yn dra-ystyriol gan vaddae* y w gylydd, megis ac y maddeuawdd Duw er Christ y chwithau.

ephe.iiii.
*weithi-pwyl
*synhwyr-pwyl
*ymaral ly
*ddalli-nep
*di ym-oddrori
*buchiei-ddrwydd
*drwy ymdrech, yn awydus
*rwy va wr yni, yn ymial,
*dull
*ehyndr-wydd
*yn ol
*i ddydd
*eith udd
*rhuat
*voesalw!
*yddy

Y Euangel

YR Iesu aeth y mewn y long, ac aeth trosawdd, ac a ddeuth y'w ddinas ehun. A nycha, wy a ddycesant ataw wr claf o'r parlys, yn gorwedd * mewn gwely: A'r Iesu yn gweled y ffydd wy, a ddyvot wrth y claf o'r parlys, Y map, ymddiriet: maddeuwyt y ty dy bechatae. A' nycha, yr ei o'r Gwyr llen a ddywedent wrthy'n ehunain. Y mae hwn yn* cably.] A' phan welawdd yr Iesu ey meddyliae, y dyvot, Pa am y meddylywch bethae drwc yn eich calonae? Can ys pa-vn* hawsaf] ei ddywedyt, Madeuwyt y-ty dy bechatae, ai dywedyt, Cyvot, a' rhodia: Ac er mwyn ychwy wybot bot * meddiant ] i Vap y dyn ar y ddaiar i vaddae pechatae, [yno y dyvot ef wrth y claf o'r parlys) Cyvot, cymer dy wely, a' dos ith tuy. Ac ef a gyvodes, ac aeth y maith * y ew ] duy ehun. Velly pan ei canvu'r dyrva, rhyveddy a wnaethant, a gogoneddy Duw, yr hwn a roesei gyfryw awturtat i ddynion.

Math.ix. *ar *dywedyt yn anduwiol *hawddaf *gallu, auturtat *ydy

## Y xx. Sul gwedy r Trintot.

### Y Collect.

OLl gyuoethoc a' thrugarawc Dduw oth ragorol ddaeoni cadw ni rac pob peth a'n druga, val y nyni yn barat yn enait a' chorph allu gan rydit calonnau, gyflawni cyfryw bethau ac a ewyllyssych vot eu gwneuthur, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

GWelwch can hyny ar ychwy rotiaw yn ddiescaelus, nyd mal andoethion, * amyn ] mal doethion, can* ennill yr amser cyfaddas: can ys * drwc ] yw'r dyddiae. Erwydd paam, na vyddwch ansynnwyrol, anid deallwch beth yw 'wyllys yr Arglwydd. Ac na veddwch ar 'win, yn yr * hynn y mae * glythni: eithyr ymlanwch o'r yspryt, can ymadrodd wrthych eich vnain mewn psalmae ac hymynae ac odlae ysprytawl, can canu a' psalmy i'r Arglwydd yn eich calone, 'a' diolch yn wastat

Ephes.v. *anid *brynu *anvad *hwn, peth *rhysedd tra, nei traha, gormoddedd yspyt, diwaltrair

am

*gan, trewy

am pop pety y Dduw ys et y Tat, yn Enw ewn Arglwydd Iesu Christ, can ymddarestwng y' gyrydd * yn] ofn Duw.

Yr Euangel

Mat. xxii.

* ydoy

YR Iesu a ddybot wrth ei ddiscipulion, Cyffelip yw teyrnas nefoedd y ryw Vrenin a wnaethoedd briodas * yw vap, ac a ddanvonawdd ei weision i alw yr ei a ohaddesit ir briodas, ac ny vynnesont wy ddawod: Trachefyn yd anvones ef weision er-eill, gan ddywedyt, Dywedwch wrth yr ei a ohaddwyt, Wele, parat oais vy-gciniaw: vey ychen am * pascedigion a ladwyt, a'phob peth ys y parat: dewch i'r priodas. Ac wy vu ddiystyr ganthwynt, ac aethant ymaith, vn y'w * dyy, ac ar all * y'w vasnach. * Ac y relyw a ddaliesont y weision ef, ac ei gwarthruddiesant, ac a ei lladdesont. A' phan glypu yr Brenhin, y llidiawdd, ac a ddanvones allan ei luedd wyr, ac a * ddinistriawdd y lladdwyr hynny, ac a loscawdd eu dinas. Yno y dybot ef wrth ei weision, Yn wir y briodas ys y parat: and yr ei a ohoddesit, nid oeddent teilwng. Ewch gan hyny allan i'r priffyrdd, a'chynniuer y gaffoch, gohaddwch i'r briodas. Yno'r gweision hyny aethant allan ir priffyrdd, ac a gesclesont ynghyt gynniner oll ac agawsant, ddrwc a' da: ac a lanwyt y briodas o ohaddwyr. Yno'r Brenhin e ddeuth y mewn, y weled * y gohawddwyr,] ac a ganvu yno ddyn nid oedd gwisc priodas amdanaw. Ac ef a ddybot wrthaw, Y cyveill, pa * ddelw] yd aethost y mewn yma, eb vot am danat * gwisc priodas?] Ac ynte * aeth yn vut.] Yno y dyvot y Brenin wrth y gweision, Rwymwch y draet a ei dwylo: cymerwch ef ymaith, a' thavlwch ir tywyllwch eithav: yno y bydd wylofain, * ac yscyrnygy dannedd. Can ys llawer a * elwir, ac ychydic a * ddetholir.

*lledneginot
*vacs
* ynghylchi ei varsiandi
*Ar llesti
*ddivaodd
*preisffordd wyr y gwest eiō
*wedd
*briodas wisc
*ny ddeuth gair oeben
* a'ricclan
*ohaddir
*ddywysti

## Y xxi. Sul gwedy r Trintot.

Y Collect.

CAniatha atolygwn y-ty, drugaroc Arglwydd, ith ffyddlawn bobl vaddeuant a' thangneddyf, val eu glanhaer oddiwrth ei oll pechotau, a'th wasanaethu a meddwl heddychol trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr epistol.

Vymbrodyr, ymgryfhewch yn yr Arglwydd, ac yn nerth y gedernit ef. Gwiscwch oll * arvogaeth Duw [am danoch,] val y galloch sefyll yn erbyn oll * ruthrae] diavol. Can nad yw eyn ymdrech ni yn erbyn * cic a' gwaet, yn amyn yn erbyn pendevigaethae, yn erbyn Galluoedd [ac] yn erbyn llywyawdron bydawl, [tywysogion] tywyllwch y byt hwn, yn erbyn * enwireddae yspryttawl, [yr ei ynt] yn yr uchelion [leoedd.] O bleit hyn cymerwch atoch oll * arvogaeth] Duw, val y galloch wrth sefyll yn y dydd * blin,] ac wedy ychwy orphen yr oll pethae, sefyll [yn sefydlawc.] Sefwch gan hyny, wedy'r ymwregysy eich * cluniae a' gwirionedd, ac ymwiscaw o ddybronnec * cyfiawnder, ac escidiaeo am eich traet o * paratoat yr Euangel tangneddyf. Uch pen pop peth cymerwch darian y ffydd, trwy'r hwnn y gallwch ddeffoddy oll saethae tanllyt y * vall. A' chymerwch * helym yr iechyt, a' chleddyf yr Yspryt, rhwn yw gair Duw. A' gweddiwch pop amser a' phop ryw weddi ac * erbyn yn yr Yspryt: a' chan wilied wrthaw y gyd a phop astudrwydd a * gweddi tros yr oll Sainct, a' throsso vi, ar roddy y mi, ymadrawdd y agory vyggenae yn * hyderus y venegy dirgelwch yr Euangel, dros yr hon ydd wyf yn genadwri * yn rhwymne, y'n y bo y my ddywedyt yn hyderus megis y * perthyn ym' * ddywedyt [yny peth.]

Ephes. vi. *arvae *cynllwynion *cnawdol *tywysogaetheu *drygae *arvae *drwc *llwyni *deddfol vap *ddarmeith *anvad, drwc *saplet *golochwyd, gwrthwedi, adolwyn, ar chan *gogladi *rhosn *mewn catwyn *cyggweddei cyg can *ymadroi

Yr Euangel.

Ydd oedd ryw * Pendevic ac yddaw vap yn glaf yn Capernaum. Pan glywu ef ddyvot Iesu o'r Iudaia i'r Galilea, ydd aeth ef attaw ac a atolygawdd yddaw ddawot i waret, ac iachay y vap ef: can ys ydd oedd * wrth vron marw. Yno y dyvot yr Iesu wrthaw, A ny welwch arwyddion a'rybeddodae, ny chredwch. Y pendevic a dyvot wrthaw, Arglwydd, dyred * i wared cyn marw vy map. Yr Iesu a ddyvot wrthaw, Does ymaith, y mae dy vap yn vyw: a' chredawdd y * dyn y gair a ddywedesei i'r Iesu wrthaw, ac aeth ymaith. Yr awrhon ac ef yn mynet i wared,

Ioan. iiii. *brenhinawl *ymbron *chry *gwr

y cyfarvu ei wasanaethwyr ac ef, ac y vanegosont, gan ddywedyt, Mae dy vap yn byw. Yno y gofynawdd ef ydd wynt yr awr y gwellesei arnaw. Ac wy a ddywedesont wrthaw, Doe y seithfet awr y gadawdd y * cryd ef, Yno gwybu'r tat [ddarvyt] yn yr awr honno y dywedesei'r Iesu wrthaw, Mae dy vap yn byw. A' chredy a wnaeth ef, a' ei oll tuy. Yr ail * miragl hynn a wnaeth yr Iesu drachefyn, wedy y ddyvot ef or Iudaia i'r Galilea.

* cyhyrddawdd
* ddeirton
* arwydd gwyrth

# Y xxii. Sul gwedy r Trintot.

## Y Collect.

ARglwydd, y-ty yr atolegwn gadw dy dylu yr Ecclesis mewn dwywolder gwastawl, vai y bo trwy dy noddet hi gwaredu o ddiwrth bob gwrthwyneb ac iddi yn ddifosionol ymroi ith wasaethu yn-gweithredoedd da, er gogoniant ith enw trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol.

Philip. i.

IM Duw y diolchaf gan eich cwbyl goffay chwi, (bop amser yn veu oll weddiae y drosoch oll, gan weddiaw drosoch oll, gan weddiaw gyd a llewenydd) er wydd y * cymddeithas y sydd ychwi, yn yr Euangel, or dydd cyntaf yd yr awrhon. Ac y mae yn credadwy genyf hynn yma, pan yw hwnn a ddechreuawdd y gwaith da [hwnn] ynoch, ei * cwplaa yd yn-dydd Iesu Christ, megis y mae yn * iawn i mi * synniet hynn am danoch' oll, can ys eich bot yn vey * calon, yn gystal yn ve rhwymae ac yn veu amddeffen, a' chadarnhad yr Euangel ys ef chwychwi oll oedd yn gyfranogion a mi o'm rhat. Can ys Duw yn dest ymy, mor orhoff genyf chwychwy oll yn * eigiawn vy galon yn Iesu Christ. A' hynn a weddiaf ar amylhay o'ch cariat etwo v'wyvwy mewn gwybyddiaeth, a' chwbl ddeall, mal y metroch * ddosparthy pethae * vo gohanieth rhyngthwynt [a ei gylydd,] a' bot yn buredigion ac yn * ddidramcwydd * erbyn dydd Christ, wedy eich cyflawny o ffrwythae cy-

* cyfranogeth
* gorphen
* weddus
* varny, dybiet
* niefyrdawt, cof
* emyscaredd
* varny
* gohanredd, rhagor, amrabael
* ddianvat
* hyd

tiawnder, [yr ei'n ynt ynoch] trwy Iesu Christ, er gogoniant a' a moliant y Dduw.

Yr Euangel.

PEtr a ddyvot wrth yr Iesu, Arglwydd, *pasawl gwaith] y pecha vym-brawt im erbyn, ac y maddeuaf yddaw? ae yd seithwaith? Yr Iesu a ddyvot wrthaw, Ny ddywedaf y-ty yd seithwaith, anid yd * seithwaith * ddecwaith seithwaith. Am hynny y cyffelypir teyrnas nefoedd i ryw Vrenhin, *pwy bynneigael cyfrif * can ei] weision. A phan ddechreysei gyfrif, e dducpwyt vn attaw, a oedd yn ei ddylet o ddec mil o*talentae. A' chan nad oedd gantaw ddim oei daly, e'orchymynawdd ei Arglwydd y werthy ef, a' ei wreic, a' ei blant ac oll * a veddei, a' thaly [yr ddlet. A'r gwas a gwympawdd i lawr, ac atolygawdd iddaw, can ddywedyt, Arglwydd, * oeda dy ddigoveint wrthyf, a' thalaf yty y[cwbl]oll. Yno Arglwydd y gwas hwnw a drugrhaodd wrthaw, ac ei gellyngawdd, ac a vaddeuawdd iddaw y ddled. A' gwedy myned y gwas ymaith, e gavas vn oe * gyveillion, yr hwn oedd yn y ddlet ef o gant ceiniawc, ac a ymablawdd yntaw ac ei llindagawdd, gan ddywedyt, Tal i mi * dy ddlet. Yno y syrthiawdd ei gyveill wrth ei draet ef, ac a atolygawdd yddaw, can ddywedyt, *Oeda dy ddigoveint wrthyf, a' thalaf yty [y cwbyl] oll. Ac ny's *gwnai ef, anid myned a' ei vwrw ef yn carchar, y'n y dalei yr ddlet. A' phan weles ei gyveillion [ereill] y pethae a * ddaroedd, ydd oedd yn ddrwc dros pen ganthwynt, ac a ddeuthant, ac a vanegesant y ew h'arglwydd yr oll pethae a ddarvesent. Yno y galwawdd ei Arglwydd arnaw, ac a ddyvot wrthaw, A' was * drwc, maddeueis yty yr oll ddyled, can yty weddiaw arnaf. Ac a ny ddylesyt tithe tosturiaw wrth dy * gyveill, megis ac y tosturiais i wrthy ti? A' llidiaw a wnaeth ei arglwydd, ac ei rhoddes ef ir poenwyr, y'n y dalei ei holl ddylet iddaw. Ac velly yr vn ffynyt y gwna veu nefawl dat i chwithae, any vaddeuwch o'ch calonnae, pop vn*y'w brawd eu * camweddae.

Mat. xviii
* pa gyhynychet
*ddec a thrugein waith, sef cccclxc, nid amgen ei ridydi
* y
*aet
* yncylch
lr.li.oedd pop talent cyffredin
*oedd yn ei helw
*gohir i'a heddycha pwylla, bydd dda dy amynedd
*gydwei sion
*vy
* efnlwytha
*mynnei
*wneithit
*mall
* gydwas
*yddyt
*sarhaedae, tresPasae

## Y xxiii. Sul gwedy r Trintot.

Y Collect.

DUw eyn noddet a'n cedernit, yr hwn wyt benatur pob dwywolder, gwrando eb ohir ddefosionawl weddiae dy Eccleis a' chaniatha y ni am yr hyn ydd ym yn e erchi yn ffyddlawn, allu ei caffael yn gyflawn, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr Epistol.

YBroder, dylynwch vi, ac edrychwch ar yr ei ys ydd yn rhodiaw velly, megis ydd ym ni yn esempl ychwy. Can ys mae llawer yn rhodiaw, am bwy'r ei y dywedeis ywch, yn bynych, ac yr awrhon dan wylaw y dywedaf ychwy, [y bot wy] yn elynion * Croc Christ, yr ei [y sydd] aei dywedd yn* gyfergoli, a'ei bol yn Dduw ydd wynt, a'ei gogoniant yn * wradwydd yddwynt, yr ei' sy a ei meddwl ar pethae daearol. Can ys ein * gwladwriaeth ni ys ydd yn y nef, ac or lle ydd ym yn edrych am yr Iachawdur [ys ef] yr Arglwydd Iesu Christ, yr hwn a *ys y mut ein corph gwael ni, er ei wneythyd yn * unffurf a ei gorph gogoneddus e, yn ol y nertholdap, trwy r hwn y dychon e ddarestwng yr oll pethae * yddaw ehun.

Philip.iii.
*Croes
*damnasion
* gwarth cywylidd
* ymddugiat, helhynt swyddogaeth
*newidia,
*unwedd, cyffrith
*y danaw

Yr Euangel.

YNo ydd aeth y Pharisaieit, ac a gymersont gygcor pa vodd y * dalient ef * yn [ei] ymadrawdd. Ac wy addanvonesont attaw ei ddiscipulon y gyd a'r Herodiait, can ddywedyt, Athro, gwyddam dy vod yn * air ] wir, ac yn dyscy ffordd Dduw yngwirionedd, ac nyd oes arnat * obal nep: can nad wyt yn edrych * ar wynep dynion. Dywet y-ni gan hynny, beth a dyby di? Ai iawn * rhoddy teyrnget i Caisar, ae nyd yw? A'r Iesu yn gwybot y * drigioni wy, a ddybot, Paam im * temptwch vi chwychwi * hypocriteit? dangoswch ymy * vath y deyrnget. Ac wy a roeson attaw geiniawc. Ac ef a ddybot wrthynt, Pwy pie'r ddelw hon a'r * argraph? Dywedesont wrthaw, * Caisar. Yno y dybot ef wrthwynt, Rowch gan hyny * ys ydd i Caisar, i Caisar a'rhowch i Dduw y pethe ys ydd y * Dduw. A' phan glywsant wy hynn, rybeddy a wnaethant, a'ei ady a' myned ymaith.

Math.xxii
* maglent
*ac
*gylwir
*broder undyn
* erwydd
*tal y treth ir ymerodr
*malis
* prowech
*ffugwyr
*arian
*arscrifen
*Yr emperawtr
* yr eiddo
*eiddo Duw

# Y xxiiii. Sul gwedy r Trintot.

## Y Collect.

ARglwydd, atolygwn ytty ellwng dy bobl o ddiwrth ei camweddau, val y bo trwy dy ddawnus drugaredd gaffael o hanam eyn rhyddhau o rwy medigaethau eyn oll bechotau, yr ei gan eyn cnawdol vreuolder a wnaetham. Caniatha hyn er cariat ar Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol.

Colost.i.

YDd ym yn diolch y Dduw 'sef Tat eyn Arglwydd Iesu Christ, pop amser yn gweddiaw trosoch: er pan glywsam am eich ffydd yn Christ Iesu, ac am [eich] cariat ar yr holl Sainct, er mwyn y gobaith ys ydd wedy'r arosot y chwi yn y nefoedd, am yr honn y clywsoch ym blaen-llaw: trwy 'air gwirionedd [ys ef ywn] yr Euangel, yr * hon a ddeuth atochwi, megis ac i'r holl vyt, ac y mae hi yn ffrwythlawn hefyt, mal ac [y mae] yn eich plith chwithe, o'r dyth-hwnn y clywsoch ac y gwir gybuoch 'rat Duw, megis ac ydyscesoch can Epaphras ein * cu gydwas, yr hwn ys y trosoch yn ffyddlawn * wenidawc Christ, yr hwn hefyt a vanagawdd y-ni eich cariat, [ys y genych] * drwy'r yspryt. O bleit hynn nini hefyt, er y dydd y clywsam, ny pheidiesam a gweddiaw y trosoch, ac erchy ar eich cyflawny o wybyddieth y 'wyllys ef, ym pop doethineb, a'deall ysprytawl, y'n y rotioch yn teilwng [gan] yr Arglwydd, a [ei] boddhay ym pop * dim, gan ymffrwyth loni ym pop gweithred da, a' * thyfu yn gwybyddiaeth Duw, wedy'r ymnerthy gan oll nerth trwy ei' ogoneddus allu ef, i bop dioddefgarwch ac * ammyned dda, y gyd a * hyfrydwch, gan ddiolwch i'r Tat yr hwnn a'n addasawdd i vot yn gyfrangion o etiveddiaeth y Sainct yn goleuni.

*hwn

* caredic, anwyl

* vinistr

* yn

* peth

* chyny, ddy, chynyrchy

* hir ymaros

* llewenydd

## Yr Euangel.

Math. ix.
* wele
* vnben
* dod
* gwaedlin, gwaedgeredd gwaedgoll
* lwyr ei
* or, gorek, hom
* iach vyddaf mi as yn iach
* o'r
* tyrfa
* Ciltwcl

TRa oedd yr Iesu yn ymddiddan val hyn wrth y popul, * nycha, y deuth rhyw* pennaeth ac 'addolawdd iddaw, can ddywedyt, Ebu varw veu merch yr awrhon, and dyred a' * gesot dy law arnei, a' byw vydd hi. A'r Iesu a gyfodes ac ei dyscyplynawdd, ef aei ddiscipulion. (Ac wele, wreic a oedd [a haint] * gwaedlif arnei dauddec blynedd, a ddaeth or * tu cefyn yddaw, ac a gyffyrddawdd ac * empyl y wisc ef. Can ys hi a ddywedesei yntheu ehun, A's gallaf gyhwrdd aei wisc ef yt vnic, * i'm iacheer. Yno yr Iesu ymchwelawdd, a chan y gweled hi, y dyvot, [Ha] verch, bydd gyssyrus: dy ffydd ath iachaodd. A'r wreic a * wnaethpwyt yn iach * yn yr awr hono.) A' phan ddaeth yr Iesu i duy'r pennaeth, a' gweled y cerddorion a'r tyrfa yn * trystiaw y dyvot wrthwynt, * Ewch ymaith: can nad marw'r vorwyn, anid cyscu y mae hi. Ac wynt ei gwatworesont ef. A' phan yrwyt y tyrfa allan, ef aeth i mewn ac a ymablawdd yn hi llaw, a'r vorwyn a gyvodes. A'r gair [o] hynn aeth tros yr oll tir hwnw.

## Y xxv. Sul gwedy Trintot.

### Y Collect.

DEffro Arglwydd, atolygwn y-ty ewyllyssiau dy ffyddlonieit val y bo yddynt gan aml weithiaw ffrwyth gweithredoedd da, allu cahel gan y ti yn aml ei gobrwyaw, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

Ier. xxiii.
* vlaguryn, gangen
* y gwaredir
* yr
* gobaith
* wele

NYcha, y mae'r amser yn dyvot, medd yr Arglwydd, y cyvodaf i Ddauid * vaguryn cyfiawn, ac a deyrnasa Brenhin ac a lwyddaw, ac a wna varn a' chyfiawnder ar y ddaear. Yn y dyddiae ef * ydd iacheir Iudah, ac Israel a breswilia yn * ddiofal, a hwn yw * ei Enw y galw ant ef, yr Arglwydd eyn cyfiawnder. Am hynny * nycha, y maer dyddiae yn dyvot, medd yr Arglwydd, pryd na ddywedant mwy [Ys]

byw yr Arglwydd, yr hwn a dduc blant yr Israel allan o tir yr *Aipht, eithyr [ys] byw'r Arglwydd yr hwn a dduc ac a ddeuth a had tuy'r Israel allan o'r Gogledd-dir, ac o'r oll tiredd ar y gwyscereiswn wy, ac wy adrigiant yn ei tir ehunain.

*Egypt

Yr Euangel.

PAn dderchavawdd yr Iesu ey lygait, a' gweled bot tyrva vawr yn dewot attaw, ef a dyvot wrth Philip, O b'le y prynwn vara i gahel o'r ei hyn vwyta? A' hynn a ddyvot ef, y'w brovi ef: can ys ef a wyddiat pa beth a wnelai. Philip atepawdd iddaw, Ny digon ydd wynt werth deucent ceinioc o vara, val y gallo pop vn o naddynt gymeryt ychydic. Yno y dyvot wrthaw vn oi ddiscipulion, [sef] *Andreas brawt Simon Petr, Y mae bachcenyn yma a chantaw bemtorth o vara haidd, a ddau pyscodyn: eithr pa beth yw'r *heiny ymplith *cynniuer? A'r Iesu a ddyvot. *Gnewch i'r dynion eistedd, (ac ydd oedd *gwelltglas mawr yn y lle hwnw) Yno ydd eisteddawdd y gwyr y lawr, o niver yn cylch pemp-mil. A'r Iesu a gymerth y bara, ac a ddiolches, ac a [ei] roddes i'r discipulion, ar discipulion ir ei a eisteddesent a lawr: a'r vn modd o'r pyscot cymeint a *ewyllysient. Ac wedy yddynt gahel ei digon, ef a ddyvot wrth ei ddiscipulion. Cesglwch y *briwion 'sy'n gweddill rac colli dim. Yno y casglesont wy ynghyt, ac y llanwesont ddeuddec *cawell o briwion y pemp torth [bara] haidd [ys ef y briwvwyt oedd o weddill yr ei a vesynt yn bwyta. Yno'r dynion pan welsant yr *arwydd, a wnaethoedd yr Iesu, a ddywedesont, Hwnn yn wir yw'r Prophwyt oedd ar ddyvot yr byt.

Ioan vi.
*Andro
*hyny
*cymeint
*Perwch ir bopul
*gwir, glaswelit lawer
*vynnent
*briwvwyt
*basgec
*miracul, gwyrthiae

As bydd mwy o Sulieu cyn Sul Aduent, y gyflawny hynny a cymerir gwasanaeth yr ei o'r Sulieu, a vaddeuwyt rhwng yr Enwaediat, a Septuagesima.

## Dydd Sanct Andreas Apostol.

Y Collect.

Math. ix.
* wele
* unben

* dod

* gwaedlin, gwaedgerdd gwaed goll
* llwyr ei
* or, gorchef, hom
* iach byddaf mi af yn iach
* o'r
* tyrfa
* Ciltwel

TRa oedd yr Iesu yn ymddiddan val hyn wrth y popul, * nycha, y deuth rhyw* pennaeth ac 'addolawdd iddaw, can ddywedyt, Ebu varw veu merch yr awrhon, and dyred a' * gesot dy llaw arnei, a' byw vydd hi. A'r Iesu a g'odes ac ei dylynawdd, ef aei ddiscipulion. ( Ac wele, wreic a oedd [a haint] * gwaedlif arnei dauddec blynedd, a ddaeth or * tu cefyn yddaw, ac a gyffyrddawdd ac * emyl y wisc ef. Can ys hi a ddywedesei ynthei ehun, A's gallaf gyhwrdd aei wisc ef yt unic, * i'm iacheer. Yno yr Iesu ymchwelawdd, a chan y gweled hi, y dybot, [Ha] verch, bydd gyssyrus: dy ffydd ath iachaodd. A'r wreic a * wnaethpwyt yn iach * yn yr awr hono.) A' phan ddaeth yr Iesu i duy'r pennaeth, a' gweled y cerddorion a'r tyrfa yn * trystiaw y dybot wrthwynt, * Ewch ymaith: can nad marw'r vorwyn, anid cyscu y mae hi. Ac wynt ei gwatworesont ef. A' phan yrrwyt y tyrfa allan, ef aeth i mewn ac a ymavlawdd yn hi llaw, a'r vorwyn a gyvodes. A'r gair [o] hynn aeth tros yr oll tir hwnw.

## Y xxv. Sul gwedy Trintot.

### Y Collect.

DEffro Arglwydd, atolygwn y-ty ewyllyssiau dy ffyddlonieit val y bo yddynt gan aml weithiaw ffrwyth gweithredoedd da, allu cahel gan y ti yn aml ei gobrwyaw, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

Ier. xxiii.
* blaguryn, gangen
* y gwaredir
* yr
* gobaith
* wele

NYcha, y mae'r amser yn dybot, medd yr Arglwydd, y cyvodaf i Ddauid * vaglurynn cyfiawn, ac a deyrnasa Brenhin ac a lwydda, ac a wna varn a' chyfiawnder ar y ddaear. Yn y ddyddiae ef * ydd iacheir Iudah, ac Israel a breswilia yn * ddioval, a hwn yw * ei Enw y galwant ef, yr Arglwydd eyn cyfiawnder. Am hynny * nycha, y maer dyddiae yn dybot, medd yr Arglwydd, pryd na ddywedant mwy [Ys]

bywyr Arglwydd, yr hwn a dduc blant yr Israel allan o tir yr *Aipht, eithyr [ys] byw'r Arglwydd yr hwn a dduc ac a ddeuth a had tuy'r Israel allan o'r Gogledd-dir, ac o'r oll tiredd ar y gwysceireiswn wy, ac wy adrigiant yn ei tir ehunain.

*Egypt

Yr Euangel.

Joan vi.

PAn dderchafawdd yr Jesu ey lygait, a' gweled bot tyrfa fawr yn dewot atta, ef a dywot wrth Philip, O b'le y prynwn vara i gahel o'r ei hyn vwyta? A' hynn a ddywot ef, y'w brofi ef: can ys ef a wyddiat pa beth a wnelai. Philip atepawdd iddaw, Ny digon yddwynt werth deucent ceinioc o vara, val y gallo pop vn o naddynt gymeryt ychydic. Yno y dywot wrthaw vn oi ddiscipulion, ['sef] * Andreas brawt Simon Petr, Y mae bachcenyn yma a chantaw bemtorth o vara haidd, a ddau pyscodyn: eithr pa beth yw'r * heiny ymplith * cynniuer? A'r Jesu a ddywot. * Gnewch i'r dynion eistedd, (ac ydd oedd * gwelltglas mawr yn y lle hwnw) Yno ydd esteddawdd y gwyr y lawr, o niver yn cylch pemp-mil. A'r Jesu a gymerth y bara, ac a ddiolches, ac a [ei] roddes i'r discipulion, ar discipulion ir ei a eisteddesent a lawr: a'r vn modd o'r pyscot cymeint a * ewyllysient. Ac wedy yddynt gahel ei digon, ef a ddywot wrth ei ddiscipulion. Cesglwch y * briwion 'sy'n gweddill rac colli dim. Yno y casglesont wy ynghyt, ac y llanwesont ddeuddec * cawell o briwion y pemp torth [bara] haidd [ys ef y briwfwyt oedd o weddill yr ei a besynt yn bwyta. Yno'r dynion pan welsant yr * arwydd, a wnaethoedd yr Jesu, a ddywedesont, Hwnn yn wir yw'r Prophwyt oedd ar ddyvot yr byt.

*Andro
*hyny
*cymeint
*Perwch ir bopul
*gwir, glaswelit lawer
*bynnent
*briwfwyt
*bascec
*miracul, gwyrthiac

As bydd mwy o Sulieu cyn Sul Aduent, y gyfiawny hynny a cymerir gwasanaeth yr ei or Sulcu, a vaoddenwyt rhwng yr Enwaediat, a Septuagesima.

# Dydd Sanct Andreas Apostol.

Y Colect.

OLl-alluawc ddiuw, yr hwn a roddaist gyfryw rat ith Apostol S. Andreas yd pan vu iddaw yn ybrwydd vfyddhau y alwedigaeth dy vab Iesu Christ a'i * ddilyn eb ohir: Caniatha y ni oll, wedi eyn galw gan dy 'air bendigedic, ymroi, yn ddioed o hanom yn vfydd y ddilin dy sanctaidd orchymynneu: trwy'r vnrhyw Iesu Christ eyn Arglwydd.

*ganlyn eb oragor

## Yr Epistol.

AS cyffessy ath enae yr Arglwydd Iesu, a' chredy yn dy galon mae Duw ei cyfodes ef o * veirw, * iach vyddy. Can ys a'r galon y credir er cyfiawnder: ac a'r genae y coffessir er iechyt. Can ys yr Scrythur a ddywait, Pwy bynac a gred yntaw, ny * wradwyddir. Can na'd oes gohanieth rhwng yr Iuddew a'r Groecwr: obleit yr hwn ys ydd Arglwydd ar * bawp, ys y'n * oludawc i bawp a'r alwo arnaw. Can ys pwy bynac a alwo ar Enw yr Arglwydd, * iach vydd. An'd pa * ddelw y galwant arnaw, yn yr vn ny chredasant? a pha wedd y credant yn yr vn ny chlywsant y wrthaw? A' phavodd y clywant eb precethwr? A' ph'odd y precethant, adiethr ei danvon? megis ydd escribenwyt, Mor * prydverth yw traet * managwyr tangneddyf, a' managwyr pethe da. Eithyr ny wrandawawdd pawp ar yr Euangel: can ys Iesaias a ddywait, Arglwydd, pwy a credawdd yr hyn a glywawdd genym? Can hyny ffydd [ys y] drwy glywot, a' chlywot trwy 'air Duw. Ac a ny chlywsant, meddaf? * Do do, ef aeth y sain wy tros yr oll ddaiar, a'ei gairiae i * ddyben byt. Ac meddaf any chydnabu'r Israel [Dduw]? Yn gyntaf Moysen a ddywait. Mi a vnaf y chwy * wynvydy wrth * genetl nyd yw genetl [i mi,] a' thrwy genetl ynvyt ich digiaf. Ac Iesaias a * vaidd, ac a ddywait, Im cafad gan yr ei ni'm caissiesant, ac i'm gwnaethpwyt yn eglaer, ir ei nid ymovynesont am danaf. Ac * wrth Israel y dywaid, * Yn hyd y dydd ydd * estenais vym-dwylo * ar vopul * anyvydd, ac yn gwrthddywedyt.

Rom. x.
*y wrth y meirw
*cadwedic
*chywilyddir
*oll
*gyvoethawc
*catwedic
*wedd
*weddus hyfrydol
*precethwyr, euangelwyr
*Diau, diamau
*eithaw
*ddal eddigedd genvigenny
*nasion
*lebys
*yn erbyn
*Ar-
*y tenais
*at
*gyndyn

## Yr Euangel

MAl ydd oydd yr Iesu yn rhodiaw wrth vor Galilea, e ganvu ddau vroder, Simon, yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei vrawt, yn bwrw rhwyt i'r mor (canys pyscotwyr oeddent) ac ef a ddyvot wrthwynt, *Dewch ar vy ol i, a mi a'ch gwnaf yn pyscotwyr dynion. Ac wy yn y van gan ady y rhwytae, y dilynesont ef. A' gwedy y vynet ef oddynaw, ef a welawdd ddau vroder er eill, Iaco [vap] Zebedeus, ac Ioan ei vrawt mewn llong gyd a Zebedeus ei tat, yn cyweiriaw ei rhwytae, ac ei galwodd wy. Ac wy eb-ohir gan adael y llong a ei tat, ac ei * canlynesant ef.

Math. iiii.

*Dylinwch vi.

* dilinesont

## Sanct Thomas yr Apostol.

### Y Collect.

OLl alluoc byw bythawl Dduw, yr hwn er mwy o sicrawch y ffydd a oddefeist ith sanctaidd Apostol Thomas, *amau cyfodiat dy vab Iesu Christ: Caniata y-ny cyn berffeithied ac mor gwbl ddiamau gredu yn dy vap Iesu Christ, yd na cheryddet eyn ffydd yn dy olwc byth, gwrando arnom Arglwydd, drwy'r vnrhyw Iesu Christ, y ba vn gyd a thi a'r yspryt glan, y bo oll anrhydedd a' gogoniant yn oes oesoedd.

*betrusaw

### Yr epistol.

YR awrhon nid ych na diethreit nac * allwlat, amyn cyd-dinessyddion ar Sainct, a' thuylu Duw, gwedy'ch adeiliat ar * sail yr Apostolon a'r Prophwyti, ac Iesu Christ * ehun yn *ben congyl [vaen,] yn yr hwn yr oll adail wedy'r gyssylltu a dyf yn Templ sanctaidd yn yr Arglwydd, yn yr hwn hefyt ych adailiwyt chwi y vot yn drigvan Duw trwy'r yspryt.

Ephes. ii.
*dyvodiet
*grwndwal
* yntau
*sylvaen cyntaf

### Yr Euangel.

Joan. xx

THomas vn o'r dauddec y'r vn a elwit Didimus, nyd oedd gyd ac wynt pan ddeuthi'r Iesu. Am hyny y dybot y discipulon eraill wrthaw, Nyni a welsam y'r Arglwydd. Ac ef a ddybot wrthwynt. A ny welwyf yn ei ddwylaw ol * y cethri, * a' dody vy mys yn ol * y cethri, * a dodi vy llaw yn eu ystlys, * ny chredaf. Ac ar ben y'r wyth diernot gwedy [hynny] drachefyn ydd oedd y discipulion y mywn, a' Thomas y gyd ac wynt. [Yno] y deuth y'r Iesu [y mewn] a'r drysae yn gaeat, ac a savawdd yn y cenol, ac a ddyvot, * Tangneddyf ywch. Yn ol hyny y dybot wrth Thomas, * Dod yma dy vys, a' gwyl vym-dwylo, ac esten dy law, a'dod yn v'estlys, ac na vydd * ancrededyn amyn crededyn. Yno Thomas a atepawdd, ac a ddyvot wrthaw, [Ys ti' yw] vy Arglwydd a'm Duw. Y'r Iesu a ddyvot wrthaw, Thomas, can y ty vyggweled, y * credeist: gwyn vydedic [yw'r ei ny welsant, ac a credesant. A llawer hefyt o arwyddion eraill a wnaeth y'r Iesu yn gwydd ei ddiscipulion, ar nid yw escrivenedic yn y llyver hwnn. Eithyr y pethae hyn a escrivenwyt val y credoch mae'r Iesu yw'r Christ Map Duw, ac ychwy * gan credy gaffael bywyt trwy y Enw ef.

*y'r hoelio̅ *ac esten *y'r hoelio̅ *ac esten *n'ys credaf *Hedd, wch *Anvon, sang *anffyddlon *credy *yn

## Ymchweliat Sanct Paul.

### Y Collect.

DUw y'r hwn a ddysceist y'r oll byd drwy bregeth dy wynvydic Apostol S. Paul: Caniatha atolwc yty, y ni, y'r ei mae ei ryfedd ymchweliat ef mewn coffa, allu dilyn a' chyflawni dy vendigedic ddysceidiaeth, y'r hwn y adawodd ef yn yscrivennedic er athrawaeth Christnogion, trwy Christ eyn Arglwydd.

### Y'r epistol.

Act. ix.

A'Saul etwa yn chwythy bygylae a lladdva yn erbyn discipulion y'r Arglwydd, aeth at y'r Archoffeiriat, ac a archawdd gantaw lythyreu y Ddamasco at y * Synogogae, a chaffei ef nep o'r ei oedd o'r ffordd honno (ai'n wyr ai yn wragedd) y dwyn hwy yn rhwym i Gaerusalem. Ac mal ydd oedd ef yn * ymddaith e

*cynnulleidvae *ymdeith

ddarvu

ddarvu val y dynesawodd ef * ar Ddamasco, yn ddisymyt y dys-
claeriawdd o ei amgylch olauni o nef. Ac ef a gympawdd * ar
y ddaiar, ac a glybu lef yn dywedyt wrthaw, Saul, Saul,
paam im * erlydy? Ac ef a ddyvot, Pwy wyt, Arglwydd?
A'r Arglwydd a ddyvot, Mi yw Iesu yr hwn a erlydy di: an-
hawdd yt' wingo yn erbyn symblae. [Ef e] yno ac yn echryne-
dic ac yn * ofnus a ddyvot, Arglwydd, pa beth a vynny i mi
y wneythyd? Ac eb yr Arglwydd wrthaw, Cyvot a does ir di-
nas, ac e ddywedir yty pa beth vydd * dir yt' y wneuthyr. A'r
gwyr oedd yn cydymddeith ffordd ac ef, a savasant wedy'r syn-
ny, gan glywet y llef eb yddwynt weled nep. A' Saul a gyvo-
des o ddyar y ddaear ac agores ei lygait, ac ny welawdd ef vn-
dyn. Yno yr arwenesont ef * erbyn ei law, ac ei ducesont i Dda-
masco, ac yno y bu dri-die eb welet, ac eb vwyta nac yfet. Ac
ydd oedd * ryw ddiscipul yn Damasco a elwit Ananias, ac wr-
tho y dyvot yr Arglwydd trwy weledigaeth, Ananias. Ac ef a
ddyvot, Wele,[dyma]vi, Arglwydd. Yno [y dyvot]yr Arglwydd
wrthaw, * Cyvot, a does ir heol a elwir Uniawn, a chais yn
tuy Iudas [vn] a ei enw Saul o [ddinas] Tarsus: can ys we-
ly, y mae ef yn gweddiaw. (Ac ef a welei * trwy weledagteth
wr a ei enw Ananias, yn dyvot y mywn attaw, ac yn dody ei
ddwylo arnaw, y gahel o hano ei olwc.) Yno ydd atepawdd A-
nanias, Arglwydd, ys clywais can lawer am y gwr hwnn,
vaint y drwc a wnaeth ef ith Sainct yn-Caerusalem. Ac cyd a
hyny y mae gantaw awturtawt o * y gan yr Archoffeiriait, y
rwymo pawp a' alwo ar dy Enw. Yno y dyvot yr Arglwydd
wrthaw, Dos ymaith, can ys y mae ef yn llestr etholedic y mi,
y ddwyn vy Enw * rac bron y Cenetloedd, a' Brenhinoedd a'
phlant yr Israel. Can ys mi a ddangosaf iddaw, pa veint be-
thae a orfydd iddaw ddioddef er mwyn vy Enw. Yno ydd aeth
Ananias ymaith, ac aeth y mewn i'r tuy, ac a osodes ei ddwy-
lo arnaw, ac a ddyvot, Y brawt Saul, yr Arglwydd am danvo-
nawdd: (ys ef] Iesu yr hwn a ymddangoses yty ar y ffordd
wrth ddawot) y * dderbyn o hanot dy' olwc, ac ith cyflawner o'r
yspryt glan. Ac yn y man y syrthiawdd yddiwrth ei lygait
megis * cenn, ac yn * ebrwydd ydd erbyniawdd ei olwc, ac y cy-
vodes, ac y batydiwyt, ac y cymerawdd vwyt, ac y cryfhaodd.
Velly y bu Saul * dalm o ddyddiae gyd ar discipulion, 'oedd yn
Damasco, Ac yn y van y pregethawdd ef Christ yn y Synago
gae,[nidamgen]mae efe oedd Map Duw: a* brawychy a wna-
eth ar bawp a ei clypu, a'dywedyt, An'd hwn yw ef y oedd yn* di-
striw yr ei alwent ar yr Enw hwn yn Caerusalem ac a ddeuth

*at
*ir llawr
*erlynt
*synn
*rait
*erwydd
*neb, nebun
*Cwyn, cychwyn
*mewn
*ywrth
*draeh
*adwelet
*gann
*dal yr
*ryw
*chwithaw
*dinistroiva

*gynyrchawdd *trigio

yma er mwyn hynn, [ys ef] er y dh' arwein wy yn rhwym at yr Archoffeirieit? Eithyr Saul a * gynnyddawdd bwyvwy a nerth, ac a wradwyddawdd yr Iuddaeon oedd yn * preswiliaw yn Damasco, gan gadarnhay mae hwn oedd y [gwir] Christ.

Yr Euangel.

Math. xix. *Wele *wrthodesam *ar *vawrhydi *dilinoedi *wrthotc *vedd ianna *cyntaf

PEtr a ddybot wrth yr Iesu, *Nycha, nyni a * adawsam pop peth, ac ath ddilynesam di: a' pha beth a vydd y-ni * Ac Iesu a ddybot yddynt, Yn wir y dywedaf wrthych, mae pan eisteddo Map y dyn *yn eisteddva ei * ogoniant, chwychwi yr ei a'm * canllynawdd yn yr adgenetleth, a eisteddwch hefyt ar ddeudec eisteddva, ac a vernwch dauddec llwyth yr Israel. A' phwy bynac a * edy tai, ney broder neu chwiorydd neu dat, neu vam, ne' wraic, nei blant, nei diredd, er mwyn vy Enw i, ef a dderbyn ar y canvet, a' bywyt tragybythawl a * etivedda. An'd llawer or ei * blaenaf, a vyddant yn olaf, ar ei olaf yn blaenaf.

## Pured'gaeth y Sanctes Vair vorwyn.

Y Collect.

*presengolwyt, cynnyrchwyt

OLl-alluawc a' thragywyddawl Dduw, atolygwn yn vfyddawl ith vawredd, megis ac ar gyfenw y heddiw y * presentiwyd ir deml dy vn mab yn sylwedd eyn cnawd ni: velly caniatha eyn presentio yti, a meddyliau purlan, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

Yr Epistol.

Yr vn ac a osotwyt tros y Sul.

Yr Euangel.

Luc. ii. Cyfraith *osot, gynnychu bresento

GWedy cyflawny Dyddiae puredigaeth Mair yn ol * Deddyf Moysen, wy a ei ducesont ef i Caerusalem, y'w * osstaty ef i'r Arglwydd. (Megis y mae yn escrivenetic yn Deddyf yr Arglwydd, Pop vn gwr-

cyw y agoro yn gyntaf y * vam, a elwir yn * sanctaidd ir Arglwydd:) ac y roddy offrwm * erwydd yr hyn a * ddywetpwyt yn Deddyf yr Arglwydd, par o * turturon nei * ddeu gyw colombenot. A'nycha, ydd oedd gwr yn Caerusalem a ei enw yn Simeon: y gwr hwnn [ oedd ] gyfiawn a' dwywol, ac yn dysgwyl am ddiddanwch yr Israel, a'r yspryt glan oedd arnaw. Ac a venagesit iddaw gan yr yspryt glan, na welei ef angae cyn yddo 'welet Christ yr Arglwydd. A'thrwy [ annoc ] yr yspryt y deuth ef i'r Templ.

*y groth
*gyssegredic
*mewis
*orchymmwyt
*colombenot coet
*aderyn nei ddwy glomenot ieuanc

# Dydd S. Matthias.

## Y Collect.

OLl-alluawc dduw yr hwn yn lle Iuddas bradwr a ddetholeist dy ffyddlawn was Mathias. y bod yn vn o niver dy ddeuddec Apostol. Caniatha bot dy Eccles yn gadwedic o ddiwrth yr ebestyl ffeilst a'bod hi threfnu ai llywaedraethu gan wir a ffyddlawn Vugelydd, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol.

YN y dyddiae hyny y cyvodes Petr y vyny yn cenol y disciplion, ac y dyvot, (a' niuer yr enwae oedd yn yr vn [lle], oedd yn cylch cant ar hvcain) Ha wyr broder ydd oedd yn * ddir cyflawny'r Scrythur hyn, yr hon a racddyvot yr yspryt glan trwy enae Dauid am Iuddas, yr hwn a vu * dywysoc ir ei a ddaliesont yr Iesu. Can ys cyfrifwyt ef gyd a nyni, ac a gavawdd * ged yn y wenidogaeth hynn. Ac ef wrth hyny a ddarparawdd vaes a goabyr enwiredd: a' gwedy yddaw *ymgrogy y drylliwyt yn ddeuddryil yn ei genol, a' ei oll ymyscaroedd a * dywalltwyt. Ac y mae yn wybodedic gan oll * preswylwyr Caerusalē, yd pan elwir y maes hwn yn ei tavodiaith wy. Hakeldama, ys ef yw hyny, maes y gwaet. Can ys escrivenir yn llyver y Psalmae, Bit y * breswylfa ef yn ddiffaith, ac na thriget nep yn * thei, a' bit y arall gymeryt y * escopaeth ef. Erwydd paam, or gwyr hynn a vu yn cymddeithas a ni, yr oll amser y bu yr Arglwydd Iesu yn tramwy in plith, can ddechrae o

Act. i.

*angenrait
*gyfrwyddwr
*gymdeithas
*i vwrlwchun ben drosmwnwgl
*dascodd allan
*drigolion
*drigva
*gur
*thaw

Uatydd Joan, yd y dydd yd erbyniwyt ef i vyny o ddyworthym, y *gorvydd bot vn o hanwynt yn dest oy gyfodiat ef. Ac wy 'osodesont ddau [gerbron, ys ef] Joseph a elwit Barsabas a gyfenwit Justus, a' Matthias. A' gweddiaw a wnaethant, can ddywedyt, Ti Arglwydd calonwybedydd pop dyn, dangos pa vn o'r ddau hyn a *ddetholeist, modd y gallo dderbyn *ced y 'weinidogaeth hinn a'r Apostoliaeth, y wrth pa vn y trawsl *dynnodd Judas, i vynet y'w le ehun. Yno y rhoesont eu coelbrenni, a' *dygwyddaw o'r coelbren ar Matthias, ac ef o gyffredin gyfundap a gyfrifwyt y gyd a'r vn arddec Apostolion.

*y bydd dir
*ddyswe- sceist
*cyfran
*encilodd cyfeillior- nodd
*syrthio, chwympo

Yr Euangel.

Matth. xi.

Yn yr amser hynny ydd atepawdd yr Jesu, ac y dywot, Yty y diolchaf, Dat, Arglwydd nef a daear, can yty guddiaw y pethae hyn rhac y doethion a'r prudion, a' ei *eglurhaw hwy ir ei bychain. *Yn wir, Dad, can ys velly y bu vodlawn genyt. Pop peth a roddwyt y-my gan vym-Tat: ac nyd edwyn nep y Map, *eithr y Tat ac nyd edwyn nep y Tat *diethr y Map, a'r hwn yr ewyllysio'r Map *eglurhau iddaw. Dewch ata vi, oll y sy yn vlinderawc ac yn llwythawc, a' mi a'ch esmwythaf. Cymerwch vy iau arnoch' a' dyscwch genyf, can vymbot yn waredigennus ac yn isel o galon. A chwi gewch orphowysfa ich eneidiae. Can ys ve Jau' sy *hyfryd, a'm llwyth ys y yscafn.

*dangos
*Do
*anyd
*anyd
*dylwyny gu ddangos
*hawdd, esmwyth
*Ebaich

## Cyfarchiad Mair wyryf.

Y Collect.

Ni atolygwn yty Arglwydd, *dineya dy rat yn ein calonau, yn y bo mal ir adwaynom gnawdoliaeth Christ dy vab trwy genadwri yr Angel velly trwy ei groc ai ddyoddefaint cahel eyn dwyn y'ogoniant ei gyfodiat ef, trwy'r vnryw Jesu Christ eyn Arglwydd.

*tywallt

Yr Epistol.

DUw a ymddiddanodd drachefyn ac Achaz, can ddywedyt, Arch yty arwydd gan yr Arglwydd dy Dduw, ys arch, [ai]yn yr eigiawn ai yn yr vchelder vry. Ac achaz a ddyvod, Nyd archaf, ac ny *themptiaf yr Arglwydd. Yno y dyvod ef, Clywch yr awrhon tuy Dauid, ai bychan genwch *volesty dynion, yny volestoch hefyt vym-Duw: Am hyny y dyry yr Arglwydd ehun y chwy arwydd. Nycha, y *wyry a veichioga ac a escor ar vap, a'hi a eilw ei enw Immanu-el. Ymenyn a'mel a vwyty, yn y wypo ef wrthot y drwc, *ac ethol y da.

Iesaias viii. *phrofaf *ovidiaw *yntef *vorwyn *a delwys

## Yr Euangel.

NY y chwechet mis, yd anvonwyt angel Gabriel *gan Dduw i ddinas yn Galilea a elwid Nazaret, at *vorwyn wedy *dyweddiaw a gwr aei enw Ioseph, o tuy Dauid, ac enw'r vorwyn oedd Mair. A'r Angel aeth y mewn atei, ac a ddyvod. Hynpych gwell *y rad-garedic: yr Arglwydd ys ygyd a thi: bendigeit [wyt] ymplith gwragedd. A'phan weles hi ef, cyntyr fu a wnaeth hi *can'ymadrodd ef, a'meddyliaw pa ryw annerch oedd *hwnnw. Yno dywedyt o'r Angel wrthi, Nag ofna, Mair, can ys *cevei'st rat ger yr bron Duw. Can ys *nycha yr ymddugy yn dy vru, ac yr escory ar vap, ac a elwy ei enw IESU. Hwnn a vydd mawr [edic,] a'map ir Goruchaf y gelwir, ac a rydd yr Arglwydd Dduw ydd aw *orsedd ei dat Dauid. Ac ef a deyrnasa ar [ucha] tuy Iacob yn *tragywydd, ac ar ei deyrnas ny bydd dywedd. A dywedyt a *oruc Mair wrth yr Angel, Pa vodd vydd hynn, can nad adwaenwyf wr: A'r Angel atepawdd, ac a ddyvod wrthei, Yr yspryt glan a ddaw arnat, a'nerth y Gorachaf ath wascota. Wrth hynny a'r peth sanctaidd a aner o hanot, a elwir *Map Duw. Ac wely, dy gares Elizabeth, ac yhi a ymdduc vap yn hei henaint: a'hwnn yw'r chwechet mis, yddi, yr hon a elwir *hesp. Can ys *ger yr bron Duw ny bydd dim yn anallu[awc.] Yno y dyvod Mair, Wele *wasanaeth *ydd es yr Arglwydd: bit i mi *erwydd dy'air. *A'r angel aeth y wrthei.

Luc. i. *yy wrth *wyry ymkyfyddiaw *yr hon ath gerir yn rhat *wrath *hynny *hoffwyt gā Dduw, ai ith hoffir *hynny *hoffwyt gan Dduw ai ith hoffir ffir &c. *wele *th[r]on, r: [illegible] *oesoedd alwnaeth

Yydd Y, Marc Eu[a]ngelwr

Y Collect.

OLl-alluawc ddiuw yr hwn a, ddysceist dy sancta-idd Eccles a nefawl athrawaeth dy euangyl wr S. Marc dod y ni rat na bythom val plant ymchweledic gan bop awel wag ddysceidiaeth: eithr bot i ni yn ffyrf ymgadarnhau yn-gwirionedd dy lan Euangel, trwy Iesu Christ ein Arglwydd.

Yr Epistol,

IBob vn o hanam y rhoddwyt Rat, wrth vesur dawn Christ. Am hynny y dywait, Wedy ydd-aw escen i'r vchelder, ef a gaethiwodd ar gaethiwet, ac a roddes* ddoniae yddynion. Eithyr yr escen-awdd hwnw, pa beth yw pe na'bysei iddaw ddescen yn gyntaf ir manne isaf* y ddaear: Hwnn a ddescenawdd, yw'r vn a a hwn ac a escenawdd ympell vchlaw'r oll nefoedd, er yddaw gyflawny pop peth [oll] Can hyny y rhodees e'r ei yn Apostolion, yr ei yn Prophwyti, a'r ei yn Euangelwyr, a'r ei yn* Bugelieit, a* Dyscyawdron, er* cytrefny yr Saint, y waith y gweinidogaeth [ys ef] er a dailadaeth* corph Christ, yn y ddelom ynghyd oll (mywn vndab ffydd a' chydnabyddiaeth Map Duw (yn wr* cwbyl, [ac] wrth vesur oedran* cyflonder Christ, val na bom ni mwyach yn vechcin, yn* bohwman, ac yn treiglo hwnt ac yma gan pop * gwynt dysceidaeth, drwy hocced dynion, ac a* dichell, er cynllwyn* twyllo. Eithyr ymwirionn mewn cariat, gan dyfu trwy pop peth yndo ef, yr hwn yw'r penn [ys ef] Christ, o ba'vn a's yr oll-corph a gyssylltir ac a gyfansodir trwy pop cymal, er cydweinidogaeth (*erwydd y grym [ys ydd]* ynghymetr pop aelawt) ea ddwc cynnydd ir corph, er adail y-ddo ehun trwy cariat.

Yr Euangel.

MI y'wr wir winwydeen, a'm Tat ys y* laburwr, Pop caingen ny ddwc ffrwyth ynof, ef ei tynn ymaith: a'phop vn a ddwc ffrwyth, ef ei carth, mal hi dyco mwy o ffrwyth, Yr awrhon ydd ywch' ynlaucan y gair, a ddywedais ychwi. Aroswch ynof, a mi ynoch: megis na'all y gangen ddwyn ffrwyth o hanei

ehun,

Ephe.iiii
*rhoddiat
*roddion
*yr, or
*vngelydd
*doetorieit, athrawon
*cytrery, cyssyllty cyd orpen
sef yr ecclesis
*essoes, aeddfet
*llawn dwf
*gohwvan anwadaly
*awel
*dilechtii
*ehudo, siomi
*yn ol
*ym mesur

Ioan.xv.
*diwyllia wrtir.
*glanha

ehun, a nyd erys yn y winwydden, velly nyd ellwch chwi, any d arosswch ynof. Mi yw'r winwydden: chwi yw'r cangenae: Y nep a arso ynof, a mi yntheu, hwnn a ddwc ffrwyth lawer: canys eb ofi, ny ellwch 'wneythy dim. An'd erys un ynofi, e a* tavl lwyt allan val cangen, ac a* wywa: ac y cesclir wy ac ei tavlir yn tan, ac ei lloscir. A'd arosswch y nof, ac aros o'm gairiae ynoch, erchwch beth bynac a ewyllysoch, ac eu gwnair ychwy. Yn hynn y gogoneddir* vym-Tat, er y chwi ddwyn ffrwyth lawer, a'ch gwnaethy'r yn ddiscipulion i mi. Mal y carawdd Tat fi, velly y cerais i chwi, trigwch yn vy gcariat. A's vyggorchymynion a gedwch, aros a wnewch 'yn vygcariat, megis ac y cedweis i orchymynion vym Tat, ac ydd arosaf yn y gariat ef. Y pethae hyn a ddywedeis wrthych, y'n yd aroso vy llewenydd ynoch, a'bot o'ch llawenydd yn gyflawn.

*dwrir
*grina
*vynhad

## Sainct Philip ac Iaco Apostolion,

### Y Collect.

OLl-alluawc ddwy, yr hwn dy wir adnabot, yw bywyd tragywyddawl: Caniatha y ni berffeith adnabot dy vab Iesu Christ, y bod ef yn ffordd, yn wirionedd, ac yn vywyt, megis y dysceist i S. Philip a'r Apostolion eraill: trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

IAco 'was Duw a'r Arglwydd Iesu Christ,* ar y dauddec llwyth ys y ar oyscar, [yn anvon] annerch. Vymbroder, cymerwch yn lle dirvawr lewenydd pan syrthiwch mewn amryw provedigaethae, can wybot mae provìat eich ffydd a ddwc* ammynedd, a byddet i* ammynedd ei weithret berffeith yn y byddoch perfeithion a'* chyfan, ac eb ddim deffic arnoch. A'd oes ar nep o hanoch deffic doethinep, archet gan Dduw, yr hwn a rydd i bawp yn hael, ac* ny oravun, ac a roddir iddo. Eithyr archet mewn ffydd, ac nac amheuet: can ys yr hwn 'amheuo, nepic wy i donn y mor rhon a drawswyntir, ac a chwythdreiglir. Ac na thybiet y dyn hwnw yd erbyn ef ddim gan yr Arglwydydd *Gwr a meddwl * duplic [ys ydd] anwadal yn eu holl ffyrdd

Iaco. i.
*at
*diodde faint
*an mind
*chwbyl, dien
*nided llw
*Dyn
*Gwr

*y bo ebrl arno
*anbrl
*diblanatranga
*brwt
*cwympa

Llawenechet y brawt *iselradd yn ei oruchafiaeth: ar goludawc yn ei *iselder : can ys megis blodaeyn llyseuyn* ydd a ymaith. Can ys [vegis pan] gyvodo yr haul yn* desoc yno y gwywa'r llyseuyn, ac y* dygwydd y blodeuyn, a'r golwc ar ei *brydverthwch a gyll, ac velly y* diffana'r goludawc yn ei oll ffyrdd. Dedwydd yw'r* dyn, a ddyoddef *brovedigaeth: can pan y prover, yd erbyn ef goron y bywyt, yr hon a addawodd yr Arglwydd yr ei y carant ef.

Yr Euangel.

Joan. xiiii.
*chyntyrber, thralloder

*darpary
*chyd !

*phaddelw
*Mybtj buchedd

gad i ni weled
*adrodd

*bymot
*orlleiaf

*obynoch

AR Iesu a ddyvod wrth i ddiscipulion, Na* thrwbler eich calon : ydd ych yn credy yn Duw, credwch yno vi hefyt. Yn tuy vym Tat y mae llawer o drigvae: a'phe amgen, ys dywedyswn ychwy. Mi af i baratoi lle y chwy, A'* gwedy ydd elwyf i baratoi lle ychwy, mi a ddauaf drachefyn, ac a'ch cymeraf ataf vyhun, mal yn y lle ydd wy vi, y bo chwi hefyt. Ac i b'le ydd a vi, y gwyddoch, a'r ffordd a wyddoch. Thomas a ddyvod wrthaw, Arglwydd, ny wyddam i b'le ydd ai: a* ph'wedd y gallom wybot y ffordd? Yr Iesu a ddyvod wrthaw, *Mi yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r* bywyt. Ny ddaw nep at y Tat, anyd trwyw vi. Pe'dadnabyddesech vi, vym Tat a adnabyddesech hefyt : ac o hynn allan ydd adwaenoch ef, ac ei gwelsoch: Philip a ddyvod wrthaw, Arglwydd dangos i ny[d=]y Tat, a* digon genym. Yr Iesu a ddyvod wrthaw, Bum gyda chwi gyhyt o amser, ac nyd adnabuost vi, Philip: yr hwn a'm gwelawdd i, a welawdd vym Tat: a'pha wedd y dywedy di* dangos i ni [d] y Tat? Any chredy, vymbot i yn y Tat a'bot y Tat yno vi? Y gairiae ydd wyf yn ey* dywedyt wrthych, nid o hanof vyhun ydd wyf yn ey dywedyt: Eithyr y Tat yr hwn ys y yn trigio ynof, ef a wna y gweithredoedd. Credwch vi, *pan yw i mi bot yn y Tat, a'r Tat yno vi:* ac anyd e, mwyn y gweithredoedd, credwch vi. Yn wir, yn wir y dywedaf wrthych, hwn a cred yno vi, y gweithredd a wna vi, a wnaiff yntef hefyt, a'r ei mwy na'r hein a wnaiff: can ys at vy Tat ydd a vi. A'pheth bynac a* archoch yn vy Enw, hynny a wnaf, y ny'ogonedder y Tat yn y Map. A'd erchwch ddim yn vy n w, mi ei gwnaf.

# Sanct Barnaba Apostol

## Y Collect.

O Ll alluawc Arglwydd yr hwn a wiscaist dy sanctaidd Apostol Barnabas ac vnigol roddion dy yspryt glan, nad'y ni vod yn defficiol oth liosawc ddoniae, nac eto o rat yw ymarfer hwy ith anrhy ddedd ath ogoniant : Trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol.

E Ddaeth y* gair or pethae hynny i glustiae 'r Eccleis* y oedd yn Caerusalem , ac wy a ddanvonesont Barnabas i vyned yd yn Antiocheia . Yr hwn gwedy iddaw ddyvod, a' gwelet Rat Duw , llawen vu gantaw, ac ef a* gyggorodd oll ar vot yddwynt trwy osodiat calon* ymlyn wrth yr Arglwydd, can ys gwr da oedd ef , a'llawn o'r yspryt glan, a' ffydd, a lliosowgrwyd o popul a ymgyssylltawdd a'r Arglwydd. Yno ydd aeth Barnabas i Tarsus y gaisiaw Saul: a'gwedy y ddaw ei gahel, ef ei duc i Antiocheia. Ac e ddarvu, pan yw yddwynt bot blwyddyn gyfan yn cyttal ar Eccleis, ac yn dyscy* popul lawer, yn y'alwyt gyntaf y discipulion yn Christianogion yn Antiocheia. Ac yn y dyddiae hynny y deuth Prophwyti o Gaerusalem i Antiocheia. Ac y cyvodes vn o* naddynt a ei enw oedd Agabus, ac a arwyddocaod trwy'r yspryt, y byddei newyn mawr *dros yr oll vyt, yr hyn a ddarvu y dan Claudius Caisar . Yno'r discipulion pop vn yn ol ei* allu a ddarparesont ddanvon cymporth ir broder y oedd yn* preswiliaw yn Iudaea. Yr hynn hefyt a wnaethant, gan ddanvon at yr* Henureit trwy law Barnabas a'Saul.

Act. xi.
*son
*rhon.
*annc-godd
dawp
*ar vaeth
il wyra-ros
*tyr vadawr
*hanynt
*trwy'r

## Yr Euangel.

Hwnn

Ioan.xv.
*roi
*bylwyt einoes.

HWnn yw vyggorchymyn', cary o hanoch eygylyd, mal y cereis chwi. Cariat mwy no hwnn nid oes gan nep, pan yw i vn* ddodi ei* eneit tros ei gereint. Chwychwi yw viggereint, a's gwnewch bethe bynac a'r a orchmynaf ywch. Yn ol hynn n'ych galwaf yn weision: can na wyr y gwas pa beth a wna ei arglwydd:* a chwy chwi a elwais yn gereint: can ys yr oll pethae a glyweis y gan vym-Tat, a* bancgais ywch. Nyd chwi am*etholesoch i, eithyr mi a'ch etholeis chwi, ac ach* gosodeis, y vynet ac i ddwyn ffrwyth, a'bot eich ffrwyth yn aros, mal am peth pynac a archoch ar y Tat yn vy Enw, iddo y roddy ychwy.

*eithyr
*hynodeis, espeseis
*dywisodd
*ordeiniais

## Sanct Ioan varyddwr,

### Y Collect.

OLl-alluawc Duw, o racluniaeth pa vn, y ganet yn rhyvedd dy wasI Ioan vatyddwr, ac ydd anvonwyt i arlwyaw ffordd dy vab Iesu eyn iachawdwr, gan bregethu* edifeirwch: gwna y ny velly ddilyn ei ddysceidiaeth ai sanctaidd vywyd ef, yd pan yw i ni wir edifarhau* wrth y bregeth ef, ac ar ol ei esempl yn wastadol draethu y gwirionedd, yn hyderus geryddu y camwedd, ac yn* vfydd ddioddef er mwyn y gwirionedd, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

*penyt
*herwydd yn ol
*ymorchus

### Yr Epistol

Esa.
Iesa.xl.
*dyhuddwch
*gysyrus

DIddenwch, *diddenwch vym-popul, medd eich Duw. Dywedwch yn*galonoc wrth Caerusalem, a'llefwch arnei, can ys darvu y lluedda hi, a* gellyngwyt y henwiredd: can ys derbyniawdd hi o par law yr Arglwydd ddupligion am hei oll bechatae. Lleferydd yn llefain yn y diffeithwch, Paratowch ffordd yr Arglwydd: vniawnwch yn y diffeithlwybr eyn Duw. Pop glynn a dderchefir, a'phob mynyth a bryn a* iselir: ar* cam a vnionir, ar lleoedd* twmpathoc vyddant yn ogyfuwch. A'gogoniant yr* Arglwydd a eglurir, ac oll cnawt

*rhybel
*madeuwyt

ei gwyl y gyt:can ys genae yr Arglwydd ei dywod, Lleta, ac yntef a ddywod, Beth a lefaf? Oll cnawt [ys] glaswellt yw, a ei oll ddaoni ys y megis blodeyn y maes. Ys gwywadd y glaswel't, ys diflanawdd y blodeuyn, can y yspryt yr* Arglwydd chwythy arnaw: diogel mae glaswellt yw'r popul. Ys gwywa'r glaswellt, ys diblana r blodeuyn: a'Gair eyn Duw a saif yn tragywyth. Na Tsion genadwraic* vad dring di ir monyth vchel: a Gaerusalem,, vanegydd daoni, dercha dy lef a nerth: dercha, nag ofna: dywait i ddinasoedd Judah, Wele eich Duw. Wele yr Arglwydd dduw a ddaw a chadernit, a'ei vraich a lywia drostaw: wely, ei gyfloc gyd ac ef, a'ei waith geyr ei vron. Ef a* basc ei gynnulleidfa val bugail: ef a gascl yr wyn a ei vraich, ac ei dwc yn ei *vonwes ac a* beithddrin y* mamogeu.

*pryder thwych
*Jon
*dda
*byrth
*arffet
*ddiwyll goleth
*cyfebron

Yr Euangel.

Wedy cyflawny temp Elizabet y escor, a'hi a escorawdd ar vap. Ac a glypu hei chymydogion ae* chenetl ddarvod i'r Arglwydd dangos ei vawredic drugaredd arnei, a'chydlawenychy a hi a wnaethant. Ac e ddarvu pan yw ar yr wyth vet dydd ydaethant i enwaedy ar y dyn-bachan, ac ei galwesont ef Zacharias yn ol enw ei dat. A'ei vam a atepawdd, ac a ddywod, Nag e, eithyr ei galwer yn Joan. Ac wy a ddywedesont wrthei, Ny'd oes vn oth cenetl a elwir ar enw hwnn. Yno ydd amneidiesant ar ei dat, pa wedd yr ewyllesei ef ey* alw. Ac ef a alwadd am astyllen [orgraph,] ac a escrivenawdd, can ddywedyt, Joan yw ei enw, a'rhyveddy a wnaethant oll. A'ei enae a egorwyt yn ebrwydd, a ei davod a [ellyngwyt] ac ef a ymddiddanawdd, can* vendithiaw Duw, Yno y gaeth ofn ar ei oll gymmydogion, ar oll* airiae hynn a* gyhoeddwyt trwy oll vlaenendir Judeah. A'bhawb ar a ei clybu, ei gesodesont yn ei calonnae, gan ddywedyt, Par ryw ddyn-bachan bydd hwnn: A'llaw yr Arglwydd oedd gyd ac ef. Yno ei dat Zacharias a gyflawnwyt o'r Yspryt glan, ac a prophwytawdd, can ddywedyt. Bẽdigeit vo Arglwyđ dduw'r Israel: can ys* gobwyawđ ac a brynawđ ey bopul. Ac ef a adderchavawđ* gorn iechyt y ni tuy Davidei wasanaethwr, megis y dywod trwy enae ey sainctaidd Prophwyti, yr ei oeđ* o ddechrae'r byt, [rei dywedẽt, yd anvonei ef ni] ymwared rac ein gelyniõ, a rhac dwyly ein oll ddygasogiõ, dãgos trugaredd ar ein tadae, a choffay ei dygymbot sanctaidd,

Luc. i.
*chereint
*Nid dim nid velly
enwi
*holl
*pethae
*ymwelodd
*nerth cadernit
*er
*ammod

*ammod *ystwng *eb ofn dedosol-dep *yddy *emyscar *hynn *ymweloddy a ni. *baglur-yn ai blagur yn.

A'r* llw a dyngawdd wrth ein Tat, Abraham [nid amgen,] bot iddo ganiatay y ni, gahel ymwared y'wrth ddwylo ein gelynion, a ei wasanaethy* yn ddiofn oll ddyddiae ein bywyt, mewn sancteiddrwydd ac* iawnder geyr y bron ef. A thithe vab ath elwir yn Prophwyt y Goruchaf: can ys ti ai o vlaen wyneb yr Arglwydd i baratoi y ffyrdd ef, [ac] y roddy gwybyddiaeth o iechyt* yw bopul ef, can vaddeuant oei pechatae. Trwy* galondit trugaredd ein Duw: gan yr* honn y* gowwyawdd y* twyn-haul or vchelder. I ddwyny ir ei a eisteddant mewn tywyllwch, ac yng wascawt angae, er* cymmetry ein traet i ffordd tangneddyf. A'r* mab [an] a dyfodd ac a gadarnhawyt yn [yr] yspryt, ac a vu yn y diffeithwch yd y dydd yr ymddangosei ir Israelieit.

# Die Sanct Petr Apostol

## Y Collect.

*ddysci

Oll alluawc Dduw yr hwn drwy dy vab Iesu Christ a roddaist ith Apostol S. Petr laweroedd o ddoniae arbennic, ac a'orchymynaist yddaw* o bruddd borthi dy ddeveit gwna atolygwn, y ty ir oll escobion a'r bugelydd yn ddyfal bregethu dy sanctaidd air, ac ir bobyl yn vfyddgar ddylyn yr vnryw val y bo-yddynt wy allu derbyn y coron gogoniant tragybythawl trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

## Yr Epistol

Act. xii. *gddi vlinaw, boeni. *craf cret *rhoes

YN cylch y cyfamser hynny, ydd an vones Herod Vrenhin ei ddwylo i* gystuddiaw yr ei or Eccles. Ac ef a laddawdd Iaco brawd Ioan a'r cleddyf. A'phan weles ef vot yn boddlawn gan yr Iudaeon, ef aeth rhacddaw y ddalha Petr hefyt (a dyddiae'r bara* croyw ytoedd hi) ac wedy iddo ei* gosodes yn carchar ac ei rhoes at petwar petwarieit milwyr y'w gadw, gan ved dwl ar ol y* Pasc ei ddwyn ef* allan ir bopul. Ac ve'y Petr a gatwyt yn carchar: a'g weddi ddyfrifol a wnait gan yr Eccleis ar Dduw drostaw. A'phan oedd Herod aei vryt ar ei ddwyn ef allan [ir popul,] y nos honnaw ydd oedd Petr yn cyscu rhwng dau*

bilwr, wedy ei rwymo a dwy gadwyn, a'r gorcheidwait y rhac
bron y drws a wylient y carchar. * A'nycha Angel yr Argl-
wydd a ddeuth arnwynt, a'llewych a ddysclaeriawdd yn y* tuy
ac ef a drawodd Betr ar ei ystlys ac ei cyvodawdd i vyny, gan
ddywedyt. Cyvot yn gyflym. A'ei gadwynae a syrteiesant y ar
ei ddwylo. Dywedyt o'r Angel wrthaw, Ymwregysa, a'rhwym
wrthyt dy sandalae. Ac velly y gwnaeth. Yno y dyvod ef wrth-
aw, *Dyro dy ddillat amdanat, a* chanlyn vi. Velly Petr a dde-
uth allan ac ei canlynawdd ef, ac ny wyddiat ef vot yn wir y
peth a wnaethoeddit gan yr Angel, any tybiet mae gweledi-
gaeth a welsei. Weithian wedy ei mynet eb law y gyntaf ar ail
*gadwriaeth, wy ddeuthant ir porth haiarn, y* arwein ir dinas
yr hwn a ymagorawdd yddynt o'ei waith ehun, ac wy aethant
allan, ac* aethant trwy vn heol, ac yn y* lle ydd ymadawis yr An
gel y wrthaw. Ac wedy ymchwelyd Petr ato ehun, y dyvod, Yr
awrhon y gwn yn ddiau, mae yr Arglwydd a ddanvones ei An-
gel, ac a'm gwaredawdd i o law Herod ac o ywrth oll ddysg-
wiliat popul yr Iuddaeon,

*sawdiwr
*Ac wele
*carchar
*Bwrw
*dilin
*wiliadwriaeth, wylfa
*dyscys
*trawenesont
*van

Yr Euangel.

GWedy dyvod yr Iesu i duedd ae Caisar-Philip
e a ovynnodd y'w ddiscipulion, can ddywedyt,
Pwy y dywait dynion vymbot i Map y dyn:
Ac wy a ddywedesont, Rei a ddywait * [mae]
Ioan vatyddiwr: a'r ei [mae] Helias: ac eraill
[may] Jeremias, *ai vn o'r Prophwyti. Ac ef a
ddyvod wrthwynt, A'phwy * meddwch-wi y'w
vi: Yno Simon Petr a atepawdd, ac a ddyvod, Ti yw'r Christ
Mab y Duw byw. A'r Iesu a atepawdd, ac a ddyvod wrthaw,
*Gwyn dy vyd ti Simon vap Jonas: can nat cic a gwaet ei
dangosawdd yty, eithyr vym-Tat yr hwn ys ydd yn y nefoedd.
A'mi a ddywedaf hefyt yty, mae ti yw Petr, ac ar y* petr hynn
yr adailiaf veu Eccles: a'phyrth yffern ny's* gorvyddant y hi. Ac
y-ty y rhoddaf *egoriadae teyrnas nefoedd, a'pha beth bynac a
rwymych ar y ddaear, a vydd rwymedic yn y nefoedd: a pha beth
bynac a eilyngych ar y ddaear, a vydd gellyngedic yn y nefoedd.

Mat. xvi.
*medd
*taw]
*neu
*ddywedwch
*ys dedwydd wyt
*graic

## Sanct Ioan Apostol

Y Collect.

CAniatha a drugaroc Dduw megis y bu ith wyn-
vydedic apostol sanct Iaco, gan ymadaw ai dad a'
chwbwl ar oedd eiddaw, heb ohir vfyddhau i al-
wad dy vab Iesu Christ, ai ddylyn: velly y ninau
gan ymwrthod a bydawl ac a chnawdawl ewyllys-
iae yn dragywydd vod yn barod y ddylyn dy orchmynion, trwy
Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Act. xi.

YN y dyddiae hynny y deuth Prophwyti o
Caerusalem y Antiocheia: ac y cyvodes vn
o naddynt aei enw oedd Agabus, ac arwy-
ddocaodd trwy'r yspryt y byddei newyn ma-
wr dros yr oll vyt, yr hynn a ddarvu y dan
Claudius Caisar. Yno'r disciplion pop vn
erwydd ei allu, a ddarparesont ddanvon cym
porth ir broder oedd yn trigio yn Iudaea.
Yr hyn hefyt a wnaethpwyt, can ei ddangon at yr * Henurieit
trwy law Barnabas a Saul. Ac yngylch y cyfamser hwnnw, yd
*amvones Herod Vrenhin ei ddwylo y* gystyddiaw'r hei or Ec-
cles. Ac ef a ladawdd Iaco brawdd Ioan a'r cleddyf. A phan
weles ef vot yn voddlon gan yr Iuddaeon, ef aeth racddaw y
ddalha Petr hefyt.

*henaif
*estyn nodd

Yr euangel

Mat. xx.

YNo y deuth ataw mam plant Zebedeus y gyd
a hei meibion, can ei addoli, ac erchy ryw beth
ganto. Ac ef a ddyvod wrthei, Peth a vynny?
Hi a ddyvod wrthaw, * Caniatha ir ei hynn
vym-deuvaip gahel eistedd, vn ar dy ddeheu-
law, ar llall ar dy law* aswy yn dy deyrnas. A'
r Iesu a atepawdd ac a ddyvod, Ny wyddoch
beth y archwch. A ellwch y vet or* cwpan yfwyf vi [o hanaw]
a'ch batyddiaw a'r batydd y batyddier vi? Dywedesont wrthaw
Gallwn. Ac ef a ddyvod wrthwynt. Diogel ydd yfwch o'm cw-
pan ac ich batyddier, a'r batydd i'm batydier i [* gantaw,] eith-
yr eistedd ar vym deheulaw ac ar vy llaw aswy, nid yw* i mi y
roi: eithyr [e roddir] i'r sawl y darparwyt y ganvym Tat. A phā
*glybu'r dec [ereill hynn,] *sori a wnaethant wrth y ddau vro-
der. Can hyny yr Iesu ei galodd wynt ataw, ac a ddyvod. Ys

*dywait
*asau
*phiol
*ac ef

gwyddoch mae penaethieit y Cenetloedd a, arglwyddiant arnaddwynt, a'r gwyr mawrion, ae gwrthlywiant wy. Ac nid velly y bydd yn ych plith chwi: anid pwy pynac a vynno vot wr mawr yn eich plith chwi, byddet yn *wasanaethwr y chwy, a'phwy, py nag a vynno bot yn pennaf yn eich plith, bit e yn was y'wch megis, ac y deuth Map y dyn nyd y'w wasanaethy, namyn er gwasanaethu, ac y roddy ei* vywyt yn brynniant tros lawer.

*wendawc

*eneit, cinioes

## Sanct Bartholomeus Apostol.

### Y Collect.

OLl-alluawc a'bythbarhaus Dduw, yr hwn a roddaist rat ith Apostol Bartholomeus y wir gredu ac y bregethu dy air: Caniatha atolygwn ytty, ith Eccles cwbl garu yr hyn a gredawdd ef, a'phregethu yr hyn a ddyscwyd ganthaw, trwy Jesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr Epistol.

Act.v.

TRwy ddwylaw yr Apostolion y gwnaethpwyt llawer o arwyddion a'rhyveddodaeymplith y popul. Ac ydd oeddent wy oll yn vn-vryd ymporth* Selef. Ac or lleill ny veiddiei nep ymwascy ac wynt: y popul *hagen ei mawrygei wy. Hefyt *lliaws yr ei oedd yn credy yn yr Arglwydd, yn wyr ac yn wragedd, oedd yn tyfu vwyvwy yd pan ddugent wy y cleifion ir heolydd, a'ei gesot mewn gwelyae a'glwthae y ny bei pe*gwascot Petr wrth dawot heibio wascodi* ryw vn o hanwynt. E ddeuth hefyt lliaws allan or dinasoedd o y amgylch Caerusalem gan ddwyn* cleifion, a'r ei a gythryblit gan yspryt ion aflan, ac wy iachawyt oll[iach lan.]

*Solomon

*niuer.

*cysgod.

### Yr Euangel.

Luc.xx.

ACa godes *ymgystadly rhyngthynt, pwy o naddaynt a tebygit y vot yn vwyaf. Ac ef a ddyvod wrthynt, Brenhinedd y Cenetloedd a*arglwyddiaethant arnwynt, a'r ei yllywodraethant, a elwir yn *wyrda vrdasawl. Ac nyd velly [y mae] ychwi eithyr y mwyaf yn eich plith chwi, byddet val y lleiaf ar pennaf val yr hwn sy yn gwe ini.

*cynnen

*wledychant

Cā ys *p'un vwyaf, ai hwn sy'n eisteđ wrthy vort, ai'r hwn'sy yn gweini: Anid yr hwn a eistedd wrth y dort? A mi ys ydd yn eich plith megis vn yn gweini. A'chwi yw'r ei'n a gwbl* arosawdd gyd a mi yn vym prodigaethae. Can hynny y* gesodaf ychwy de=yrnas, megis y gesodes vym=Tat y mi, yn y vwytaoch, ac yr o=voch ar vym=bort yn vym=teyrnas, ar esteddvae, can varny deu=ddec llwyth yr Israel.

*pa, vn
*gwasa=naethy
*gwasanaethu
*arecsoch arosesoch

## Sanct Mathew Apostol

### Y Collect.

OLl alluawl Dduw yr hwn drwy dy wynvydedic, vap y alwaist Mathew* o'r dollva, y vod yn Apo=stol, ac Euangelwr: Caniatha y=ny rat i wrthod oll ddeisyfion tra chwantus gariad godawl, a di=lyn dy ddywededic vab Iesu Christ, yr hwn sydd vyw ac yn teyrnasu gyd a thi a'r yspryt glan yn oes oesoedd. &c.

*o vot yn dollwr

### Yr Epistol

CAn vot i ni y* gweinidogaeth hynn megys ac y cawsam drugaredd, nyd yym yn* llaesy: eithyr ymwrthodesam a gorchuddiae* coe=gedd, ac nyd rhodio mewn* hocced, ac nid yym yn* gaudraethy Gair Duw, namyn wrth ddatcan y gwirionedd ac ydd yym yn ym=brisio yn cydwybot pob dyn yn golwc Dyw. Ic a'd yw eyn Euangel yn guddiedic, cu=ddiedic yw hi ir ei a gollwyt Ym pwy rei y dalłodd Duw'r byt hwn y meddyliae [ys ef yw] i'r anffyddlonion, rac* llewychy ydd=wynt'oleuni y gogonedus Euangel Christ * yr hwn yw delw Dduw. Can nad yym yn eyn precethy en hunain, anid Christ Ie=su yr Arglwydd, a nyni yn weision ywch'er mwyn Iesu. Can ys Duw yr hwn a orchymynawđ ir* golauni lewyrchy [allan] ody=wyllwch, [yw ef] yr hwn a* lewychawdd yn ein calonnae, [yro=ddi] golauni'r gwybodaeth gogoniant Duw yn wynep Iesu Christ.

ii. Cor. iiii
gwasanaeth swydd
*lleddfy
*gwred=wydd
*callinep di lechtit
*towyny llathry, dys claerio
*pwy

Yr Euangel

A C val ydd oedd yr Iesu yn mynet o ddyno, e ganvu'wr yn eistedd wrth y dollva e elwit Matthew, ac a ddywod wrthaw, *canlyn vi Ac ef a gyfodes, ac ei calynawdd. Ac e darvu, a'r Iesu yn eistedd i vwyta yn ydy ef, nycha, *Publicanot lawer a'phechaturieit, a' ddaethent [ynaw,] ac eisteddesant i vwyta gyd a'r Iesu a'ei ddiscipulion. A'phan welawdd y Pharisaieit hynny, wy ddywedesont wrth ei ddiscipulion ef. Paam y bwyty eich *Dyscyawdr gyd a'r Publicanot a'phecaturieit? A'phan glyw'r Iesu, e ddywod wrthynt, Nid reit ir ei iach wrth *veddic, anid ir ei cleifion. An'd ewch a'dyscwch pa beth yw [hynn] Trugaredd a *ewllyseis, ac nyd aberth: can na ddauthym i alw'r ei cyfiawn, amyn y pechaturieit y ddywod ir iawn.

Math. ix.
*Dilin
*tollwyr
*Athro
*phisyg wr
*vynnaf

## Sainct Michael ar ol Angelon,

Y Collect.

TRagyvythawl Dduw, yr hwn a ordeinaist ac a osodaist wasanaethe yr oll Angelion a'dynion mewn trefn rhyfedd: Caniatha yn drugarawg val yddynt'wy (yr ei sy yn wastat yn gwnaethur yt' wasanaeth yn y nefoedd) yddyn drwy dy drefnid di vod yn borth ac yn amddeffen y ni yn y ddaear, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

Yr Epistol.

A C ydd oedd *cad yn y nef Micael a'ei Angelion a * ryvelawdd a'r ddraic, a'r ddraic a * ryvelawdd ac ef a ei angelion. Ac wy ny arvuant ac ny chaffat ei lle o hyny allan yn y nef. Ac a davlwyt allan y draic fawr, yr hen sarph, y elwir diabol a'Satan, yr hwnn a dwylla'r oll vyt: [ac] ef ei tavlwyt ir ddaear ac ei angelion a davlwyt allan gyd ac ef Yno

Apoc. xii.
* gwrthdr rhyvel
* ymladdawdd, wrthwynebawdd

*meddiant
*gorvuot
*helmoeshoed yl
*trigianolion

y clyweis ef vchel yn dywedyt, Yr owrhon y mae iechyt yn y nef a'nerth, a* theyrnas ein Duw, a gallu y Christ ef: can ys tavlwyt ir llawr guhuddwr ein broder, yr hwn a ei cuhuddei geyrbron ein Duw ddydd a'nos. Ac wy y* gorchvygesont ef drwy waed yr Oen, a'thrwy'air testiolaeth, ac ny charesont ei* bywyt yd angae. Am hyny llawenhwch y nefoedd, ar ei a breswiliwch ynthynt. Gwae* breswylwyr y ddaear, a'r mor: can ys descennawdd diavol atoch, a'llit mawr ganto can wybot nad oes anid byramser yddaw

Yr Euangel.

Mat. xviii
*blentyn
*cenol
*trei
*ymiselo plentyn
*drangwyddo, gwympo
*tremio, corych ac

Y pryd hwnw y deuth y discipulion at yr Iesu, can ddywedyt, Pwy'sy vwyaf yn teyrnas nefoedd? A'r Iesu a alwawdd ataw* bachcenyn, ac ei gosodes yn ei* cyfrwng, ac a ddyvod, Yn wir y dywedaf wrthych, a ddieithr* eich ymchwelyt, a'bot mal* bachcenot nid ewch i deyrnas nefoedd. Pwy bynac can hynya *ymestyngo mal y bachcenyn hwn, hwnw yw'r mwyaf* yn-teyrnas nefoedd. A'phwy pynag a dderbyn, gyfryw bachcenyn vy Enw, a'm derbyn i. A phwy bynag a* rwystro vn or ei bychein hynn a credant yno vi, gwell oedd, iddaw pe crogit maen melin am ei* vwnwgl, a'ei boddy yn eigiawn y mor. Gwae'r byt o bleit* rwystrae: can ys angenreit yw ddewot rhwystrae: er hyny gwae'r dyn hwnw, y gā yr vn yd el y* rhwystr' Cā hyny a's dy law nai dy droet ath rhwystra, tor wy ymaith, a'thavl y wrthyt: gwell yw yty vyned i vywyt, yn gloff ai yn* anafus, nath tavly ac y ty ddwy law, a* dau droet i dantragyvythawl. Ac a's dy lygat ath rwystra, allan, a'thavl y wrthyt: gwell yw yty vyned y vywyt ac vn llygat, na'ca dau lygat, dy davly i dayffern. *gwelwch na* thremygoch yr vn or ei bychein hynn: can ys dywedaf y chwi, pan yw yn y nefoedd bot y Angelon wy bop [amser] yn* gwelet wynep vym-Tat, yr hwn y sy yn y nefoedd.

## Sanct Luke Euangelwr

Y Collect.

OLl alluwac Dduw yr hwn a elwaist Luc*y physygwr(yr hwn ysy ei voliant yn yr Euangel)y vot yn physygwr ir enaid : rhyngit bodd y ty can iachus veddiciniaeth y ddysceidiaeth ef, iachau oll heintiau eyn enaidiau, trwy dy vab Jesu Christ eyn Arglwydd.

*meddic

Yr Epistol

GWilia ti ym pop peth: ymoddef pan ich drygger: gweithia'waith Euangelwr : cwbl gyflawna dy weinidogaeth. Can ys mi ys ydd yr awrhon wrth vron vy aberthy, ac amser vyg*gellyngdawt ys y yn agos. Ymdrechais ymdrech*tec, a'gorphennais [vy] rhedecva: cedweis ffydd. Can ys weithian y mae coron*iawnder wedy'r osot ymy, yr hon a ddyry'r Arglwydd y barnwr cyfiawn y mi y dydd hwnw : ac nid i mi yn vnic, anid i bawp hefyt a garant y*ddyvodiat ef. Cais ddyvod ataf yn ebrwydd. Can ys Demas am gadawodd, gan*hoffy y byt presennol, ac aeth i Thessalonica. Crescens[aeth]i Galatia, Titus i Ddalmatia. Lucas ys y yn vnic y gyd a mi. Cymer Marc a dwc gyd a thi: can y bot ef yn vuddiol i mi er*gweinidogaeth. Tychichus a ddanvoneis i Epheson. Y cochyl rhwn a edeis yn Troas gyd a Carpus, pan ddelych, dwc gyd a thi, a'r llyfrae ac yn enwedic y*membranae. Alexander y gof*copr a wnaeth i mi lawer o ddrwc : talet yr Arglwydd iddaw* erwydd ei weithredoedd. Ymgadw di racddaw hefyd : can ys dirvawr y *gwrthnepawdd ef ein pregethae.

ii. Ti.iiii.
*gawsanaeth, swydd
*ymddangosiat
*gosteido, braicheido
*gwrthladdawdd

Yr Euangel

YR Arglwydd a ordeiniawdd ddec a thry'ugain ereill, ac ei danvones wy y popddau a'dau*geyr ei vron i pop dinas a'lle, ac ydd oedd ef ar ddyvod iddo. Ac ef a ddyvod wrthwynt, Y cynayaf y sy'ampl, a'r gweithwyr yn*anaml: gweddiwch gan hynny ar'Arglwydd y cynayaf, ar ddanvon gweithwyr y'w gynayaf Cerddwch ymaith:*nycha, mi ach danvonaf malwyn ymysc bleiddiae.

Luc.x.
*rac ei wynep.

Na ddygwch [vn] god, nac yscrepan, nac escidiae, ac na chyuerch wch well i nep ar y ffordd. Ac i pa duy pynac ydd eloch, yn gyntaf dywedwch,* Tangneddyf ir tuy hwnn. Ac a's bydd yno [vn] map tangneddyf, e a'orphwys eich tangneddyf arnaw: ac anid ef, atoch yd adym-chwel. Ac yn y tuy hwnw arooswch [yn oystat]* gan bwyta, ac yvet gyfryw bethae [a ddodant geir eich bronn:] can*ys teilwng ir gweithwr ei gyfloc.

*hedd wch
*yn bwyta
*taladwy

## Sainct Simon ac Iudas Apostolion

### Y Collect.

OLl-alluawc Dduw yr hwn adeiladaist dy gynnulleidfa ar rwndwal yr Apostolion ar prophwyti ac Iesu Christ ehun yn benn congl-vaen: Caniattha y-ny bot velly yn cyssylltu ynghyd yn vndeb yspryt can ei dysceidiaethwy yd pan in gwneler yn sanctaidd dempl gymeradwy genyt trwy Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

IUdas gwas Iesu Christ, a'brawt Iaco, at yr ei'alwyt ac a sancteiddiwyt gan Dduw Dat, ac a gatwyt i Iesu: Trugaredd y'wch a*thangneddyf, a chariat a*liosocer. Caredigion, pan roddeis vy oll bryd i escribenny attoch am yr iechyt cyffredinawl, angenrait oedd ym'escribenny atoch ich annog y *ymdrech *ynghweryl] y ffydd, yr hon a roddaet vnwaith ir Sainct. Can ys e ymluscawdd rhyw ddynion y mewn yr ei or blaen*gynt oeddyn wedy'r* ordeinio ir barnedigaeth hynn: andywolion [ynt] gan* ddychwelyd Rat ein Duw i anlladrawydd a'gwady Duw yr Arglwydd vnic, a'n Arglwydd. Iesu Christ. Cá hyny ich*rhubydiaf, erwyd ychwy vnwaith wy bot hyn, mal y bu ir Arglwyð gwedy iddo ymwareð y popul allan or * Aipht, destruwiaw drachefyn yr ei ny chredé A'r aggelió hefyt ar ny chatwasát ei*dechreuat, amyn gady ei trigua ehun,

Iudas. i.
*heddwch
*amyl haer
*ymrysson
*ercan llitaweith
*cyn no hynn
*racgraphu
*trol
*nlwyfi ant
*cossaf

a gat

a gatwadd ef mewn catwynae tragyvythawl y dan dywyllwch yd var'n y dydd mawr. Mal [ am ] Sodoma a' Gomorrah, ar dinasedd o ei gogylch, pwy'r ei yn gyffelip vodd agwynt a wnaethant 'odinep, a chanlyn cnawd arall, ynt wedy'r osot yn esempl, can oddef * poen tan tragyvythawl. Yr vn ffynyt hefyt y breuddwydwyr hynn a halogant y cnawd, can ddiystyry * arglwyddiaeth a chaply yr ei 'sy mewn awturtat.

*dialcth
* llywodraeth, rheolaeth

Yr Euangel.

Pethae hynn a orchymynaf ychwy, cary o hanoch y gylydd. A's y byt a'ch casaa, gwyddoch gasay o honaw vi cyn na chwi. Pe o'r byt y bysech, y byt a garei yr eiddo: a chan nad ych or byt, eithyr i mi ech * ethol allan or byt, am hynny y casaa'r byt chwi.* Coffewch y gair a ddywedais ychwy, Nid mwy gwas na ei arglwydd. A's erlidiesont vi, wy ach erlidiant chwi hefyt: a's vyggair i a gadwasant, wy gadwant eich [ gair ] chwi. Eithyr y pethae hynn oll a wnant ychwy er mwyn vy Enwi, can nad adnabuant yr hwn am danvonawdd. Pe bysswn eb ddyvot, ac eb ymddiddan * ac wynt, ny byddei arnynt pechat: an'd yr awrhon nid oes ydwynt liw ymescus. Y nep am casaa i, a gasaa vym-Tat hefyt. Pe na's gwnaethwn weithredoedd yn ei plith wi, yr ei ny's gwnaethei nep arall, ny bysei pechat arnynt: ac yr awrhon y gwelsont, ac a'm casesont i a'm Tat. Eithyr [ hynn ys ydd ] er cwplay y gair a yscrivenir yn y Deddyf wy, Wy am casesont i* yn rhat. An'd pan ddel y * Dyddanwr, yr hwn a ddanvonwy vi atoch y wrth y Tat, hwnw, a destiolaetha * am danaf, a' chwi destiolaethwch hefyt can eich bot or dechreaeat gyd a mi.

Ioan.xv.
*dywys
* Cofiwch
* wrthynt
*eb achos
*Conffordwr
*addefilia, gynnyrchia
*o hanof

# Yr oll Sanct.

Y Collect.

OLl alluoc Dduw yr hwn a gysylltaist ynghyd dy ddetholedigion yn vn cyfundeb a chymdeithaas, yn y dirgeledic corph dy vab Christ eyn arglwydd. Caniata y-ny rat vel'y i ganlyn dy ddwywol Sainct, ymhob rhinweddol a' *dwywol vywyd, yd

* santaidd

*a arlwyaist;

pan allom ddyfod ir anrraethawl lawenydd hynny a * baratoaist yr ei yn ddiffuant ys ydd ith garu, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd.

### Yr epistol.

Apoc. vii.
*Whele mybi Ieuan
*ddaiar
*paenar
*talceni

NYcha, mi Ioan a welais Aggel arall yn escen o'r Dwyrein, a chanto sel Duw byw, ac ef a lefawdd a llef vchel ar y petwar Aggel ir ei y rhoesit ddrygy y * tir a'r mor, can ddywedyt, Na wnewch ddrwc ir tir, na'r mor, na'r * gwydd, yn y seliom weision ein Dyw yn ei talae. A' chlyweis niver y seledigion, ac [ ydd oedd ] yn seliedic cant a'phedeir-mil a' da'ugain o oll llwythae plant [yr] Israel.
O lwyth Iuda ydd oedd deuddec mil yn seliedic.
O lwyth Ruben ydd oedd ddeuddec mil yn seliedic.
O lwyth Gad ydd oedd ddenddec mil yn seliedic.
O lwyth Aser ydd oedd ddeuddec mil yn seliedic.
O lwyth Nephthali ydd oedd ddeuddec mil yn seliedic.
O lwyth Manasses ydd oedd deuddec mil yn seleidic.
O lwyth Simeon ydd oedd deuddec mil yn seliedic.
O lwyth Leui ydd oedd deuddec mil yn seliedic.
O lwyth Issachar ydd oedd deuddec mil yn seliedic.
O lwyth Zabulon ydd oedd deuddec mil yn seliedic.
O lwyth Ioseph ydd oedd deuddec mil yn selietic.
O lwyth Ben-iamin ydd oedd deuddec mil yn selietic.
Yn ol y pethae hyn ydd edrychais, a' nycha, turfa vawr, yr hon ny all ei nep ei chyfrif, or oll genetloedd, a llwythu a' phopuloedd, a' thauodae oedd yn sefyll geir bron yr eisteddfa a'cher bron yr Oen a ei gwiscoedd yn hugae gwynion * hirion a phalmwydd yn ei dwylo, ac yn llefain a llef vchel, can ddywedyt, Iechyt [ y sydd dy ] gan ein Duw, yr hwn a eistedd ar yr eisteddfa, a chan yr Oen. Ar Aggelion oll o safesant yn cylch yr eisteddfa ac [ ynghylch ] yr Henurieit a'r pedwar anibal, ac a syrthiesont geir bron yr eisteddfa ar ei wynebeu, ac addolesont Duw, can ddywedyt, Amen. * Bendith, a' gogoniant, a doethinep a'diolch, ac anrydedd, a gallu a chadernita vo y eyn Duw yn oes oesoedd Amen.

*llaesion

*Moliant

### Yr Euangel.

Math.v.

PAn welawdd yr Iesu y dyrva, ef a escenawdd i'r monyth: a'gwedy iddaw eistedd, y deuth eu ddisci-pulion attaw. Ac ef a agorawdd ei enae ac ei dys-cawdd can ddywedyt, Gwyn ei byt y tlotion yn y-sprryt: can ys eiddynt teyrnas nefoedd. Gwyn ei byt yr ei galarus, can ys wynt a'ddiddenir. Gwyn ei byt yr ei * gwaredigenus can ys wy a veddianant y ddaiar. Gwyn ei byt yr ei sy arnwynt newyn a' sychet am gyfiondr, ca-nys wy a * ddigonir. Gwyn ei byt y trugarogion, can ys tru-caredd a gaffant. Gwyn ei byt yr ei glan o galon, can ys wy a welant Dduw. Gwyn ei byt yr ei tangneddefus cans wy a el-wir yn plant Duw. Gwyn ei byt yr ei a erlider er mwyn * cyfi-awnder, can ys eiddwynt teyrnas nefoedd. Gwyn eich bit pan ich * anvria dynion, a'ch erlit, a doedyt pop rryw ddrwc am da-noch er vymwyn i, [ac wy] yn * gelwyddawc. Byddwch lawen a' hyfryd, can ys mawr yw eich cyfloc yn y nevoedd: erwyd velly yr erlidiesont wy'r Prophwyti, yr ei vu o'ch blaen [chwi.]

*addv-wyn *borthir, ddywellir

*gwiredd *capla, desrcula *euawc

## Y drefn am wenidogeth Swpper yr Argl-wydd neu r Commun bendigeid

CYnnifer a vo yn amcanu bot yn gyfranoc o'r Commun ben-digedic, a arwyddocaant eu enwau i'r Curat cyn y nos, neu'r borae cyn dechreu y Weddi voreuawl, ai yn y van gwedy. Ac a bydd vn or ei hyny yn ddrwcfucheddol cyhoedd val y * bo gwrthwynebus gan y Gynnulleidfa, neu a wna eth gam yw gymydawc, ar' air ai ar' weithred: Y Curat gan gael gwy-bodiaeth o hynny, ai geilw ef, ac ai cynghora, na ryvygo ef er dim ddy-fod i vord yr Arglwydd, yd yn y ddeclaro ef yn gyhoyddus ei vod yn wir edifeiriol a' darvod yddo wellhau ei ddrwgfuchedd or blaen, val y boddlo-ner y gynnulleidfa wrth hynny, yr hon a rwystrewyt yn y blaen: A' dar-bot yddo wneuthur iawn ir neb y gwnathoedd gamwedd or blaen neu or lleia yn datcan i vod mewn cyflawn vryd i wneuthyr velly yn gyntaf ac i galle yn gymetrol.

*tranc-wydder ac

Y drefn hon a arfer y Curat a'r sawl rhwng yr ai y gwypo ef vod ma-lais a chasineb yn teyrnasu, heb oddef yddynt vod yn gyfranol o vwrdd yr Arglwydd, hyd pan wyppo i bot hwynt wedi cytuno. Ac os vn or rhannau anhyddychol a fydd bodlawn i vaddae o waelod i galon gwbwl ac a wnaethpwyt yni erbyn ac i wneuthyr iawn i bawb ar a rwystrawdd yntau i hunan, ar rhan arall ni vyn i ddwyn i ddwy wol vndeb, a myn se-fyll yn wastat yni ystyfnigrwydd ai valais. Y Gwenidoc yn yr achos hynny a ddyly dderbyn ydyn edifeiriol ir Commun bendigeid ac nid y dyn * anlwdyn.

*ystyfnic

107

Y vwrdd

Y bwrdd ar amser y Commun, a lliain gwyn tec arno a saif yng hanol yr Eccleis neu yn y * Ganell lle bo'r Borevol ar Brydnonawl weddi wedir ordenio i dywedyd. Ar offeiriat gan sefyll wrth yr ystlys Gogledd ir bwrdd a ddywaid weddi r Arglwydd ar Collect sydd yn canlyn.

*gangell

Eyn tad ni yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

HOll alluawc Dduw ir hwn y mae pob calon yn agored, a' phob deisyf yn gydnabyddys, a' rhac yr hwn nid oes dim dirgel yn guddiedic * glanha beddyliae eyn calonau trwy yspyrydoliaeth dy 'lan yspryt, val y carom dy di yn berffaith, ac y mawrhaõ yn deilwng dy enw sanctaidd trwy Christ eyn Arglwydd. Amen.

*carth

Yna yr offeiriat a draetha yn eglur y dec Gair deddyf oll. Ar bobl ar ei gliniau ar ol pob vn or gorchymynnau a archant drugaredd Dduw am y tori hwy, yn y modd hynu.

## Y Commun.

## Y Gwenidawc.

DUw a lafarawdd y geiriau hyn ac a ddywawdd: Myvi yw yr Arglwydd dy ddaw. Na vid yt Dduwieu eraill a nyd myvi.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hon.

*Cyfraith

Gwenidawc.

* Na wna y tyhun ddelw gervìedic, na llun dim y sy yn y Nef vchod, neu yn y ddaiar isod, nac yn y dwr y dan y ddayar: na * 'ostwng yddyn, ac na addola hwynt. Canys mi yr Arglwydd dy Dduw wyf Dduw eiddigeddus, yn * ymweled a phechodeu'r tadeu ar y plant, hyd y drydedd ar pedwaredd * genedleth or ei]a'm casaant, ac yn gwneuthur trugaredd y vilioedd yn yr ei am carant ac a gatwant vyggorchymynneu.

* Nitwnel

*chrwm

*gostwy

*hiliogeth ach

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' * gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hon.

*phlyc, ne hydlyc

*Cyfraith

Gwenidawc.

Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn * ouer, can nad * gwirian gan yr Arglwydd yr vn a gymero y Enw ef yn ouer.

*gorwagedd *anenoc, glan

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y Ddeddyf hon.

Gwenidawc.

* Coffa gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath. Chwe Diernot y gweithy ac y gwnai dy oll waith: eithr y saithued ddyd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: * Ar y dydd hwnw na wna ddim gwaith, tydy, ath vap, ath verch, ath was, ath vorwyn, ath * yscrubl, ar dyn dieithr a vo o vewn dy byrth. Canys * yn chwe diewernot y gwnaeth yr Arglwydd Nef a' Daear, y Mor, ac oll ys ydd ynthynt, ac a' orphwysawdd y saithued dydd. Erwydd paam y bendithiawdd yr Arglwydd y saithued dydd, ac y sancteiddiawdd ef.

*Cofia *Yn *anivail, *mewn

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hon.

*Gyfraith

Gwenidawc.

Anrydedda dy Dad ath Vam, val yr estynner dy ddyddieu ar y ddaear yr hon a rydd yr Arglwydd dy Dduw y ti.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hon.

*Gyfraith

Gwenidawc.

Na ladd.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hyn.

*Gyfraith

Gwenidawc.

Na wna 'odinep.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Ddeddyf hon.

*Gyfraith

Gwenidawc.

Na ledrata.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Deddyf hon.

*Gyfraith

Gwenidawc.

Na ddwc * gam destiolaeth yn erbyn dy gymydawc.

* ffals

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, a' gestwng eun caloneu y gadw y * Deddyf hon.

*Gyfraith

Gwenidawc

Na chwenych Duy dy gymydawc, na chwenych wreic dy gymydawc, na'i 'was, na ei vorwyn, na ey ych, nai Asin, na dim o'r sy iddo.

Popul.

Arglwydd trugarha wrthym, ac escribenna yr oll * Ddeddfeu hyn yn eyn caloneu ni atolygwn y ty.

*Gyfraithieu

Yna y canlyn y Collect or dydd, y gyd ac vn o'r ddau Collectae hynn sydd yn canlyn, dros y Vrenhines, ar Offeiriat yn ei sefyll wrth y bord a ddywed.

## Yr Offeiriad.

OLl-alluawc Dduw yr hwn y sydd ei deyrnas yn dragwyddawl, a'i allu yn anfeidrol, cymer drugaredd ar yr oll gynnulleidfa, a'reola velly galon dy ddewisedic wasanaeth y * ddes Elizabeth eyn Brenhines an llywydd, val i gallo hi gan y-ddhi wybod i bwy i mae hi yn weinidoc vchlaw pop dim geisio dy anrhydedd ath ogoniant ac val y gallom ninau y deiliait hi (gan veddylied yn ddyledus o ddiwrth pwy y mae'r y awdurdod sydd yddi) yn ffyddlon hi gwasnaethu ai anrhydeddu ac yn ostyngedic vfyddhau iddi, ynoti, ac erot ti, yn ol dy vendigedic' air ath ordinat, trwy Jesu Christ eyn Arglwydd, yr hwn gyda thi ar Yspryt glan, y sydd yn bywo ac yn teyrnasu yn tragywydd yn vn Duw, eb dranc na gorphen. Amen.

*wreic

OLl alluawc a' thragwyddawl ddduw, in dyscir gan dy air sainctaidd bod calonau brenhinoedd wrth dy reolaeth ath lywodraeth di, ath vot ti yn y gosot hwy ac yn * ymchwelyt val y mae dy dduwiawl doethineb yn gweled bot yn orau: ydd ym ni yn ostyngedic yn atolwg y-ty velly osot a llywodraethu calon Elizabeth dy wasanaeth * ydd eyn Brenhines a'n llywydd, val i gallo hi yn i holl veddyliau, geiriau a' gweithredoedd yn wastad geisio dy anrhydded * di ath ogoniant, a' mefyrio i gadw dy bobl a roddet yn i chadwreth hi, mewn * diganoldeb, tangneddf, a duwiolder: Caniata hyn drugarog dat, er cariad ar dy anwyl vab Jesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

*wreic

*werin

*digonedd

Yn y van wedi'r Collectae y ddarllen yr Offeiriat yr Epistol, gan ddechrau val hyn: Yr Epistol scrifenedic yn yr Penot o &c.

A gwedi diwedd'r Epistol, ef a ddywaid yr Euangel gan ddechrau val hyn Yr Euaugel a yscrifenir yn yr Penod o &c.

A chwedi gorphen yr Epistol ar Euangel, y dodir y Credo.

C* Redaf yn vn Duw Dat all' alluoc creawdr nef a' daiar ac oll weledigion, ac angweledigion. Ac yn ein Arglwydd Iesu Christ vnic cenedledic vap Duw, cenedledic gan ei Dat cyn yr oll oesoedd, Duw, o Dduw, * llewyrch o lewyrch, gwir Dduw o'wir Dduw, cenedledic nyd gwneuthuredic yn vn hanvot a'r Tat, gan yr hwn y gwnaethpwyt pop peth, yr hwn *erom ni ddynion, ac er ein iechydwrieth a ddescennodd o'r nefoedd ac a * gnawdiwyt drwy yr Yspryt glan o Vair vorwyn, ac a wnaethpwyt yn dyn, ac a grogwyt hefyt trosom, y dan Pontius Pilatus. Ef a ddyoddefawdd aca gladdwyt a'r trydydd dydd ef a gyfodawdd *erwydd yr Scrythurae ac a escennawdd er nef, ac ys ydd yn eistedd ar ddeheulaw'r Tat, a' thrachefn y daw ef * drwy ogoniant y barnu y byw a'r meirw, ac ar ei deyrnas ny bydd * tranc. A' chredaf yn yr yspryt glan, Arglwydd a' bywiawdwr, yr hwn ys ydd yn deilliaw o'r Tat a'r Map, yr hwn y gyd a'r Tat a'r Map, a gydaddolir ac a gydogoneddir, yr hwn a * lafarawdd trwy'r Prophwyti. A' chredaf [vot] vn Catholic ac Apostolic Eccles. Addefaf vn Batydd er maddeuant pechotae. Ac edrychaf am gyfodiat y meirw, a' bywyt y byt ys y ar ddawot. Amen

*yd wyf yn credu
*lleuer, golauni, goleuat
*trosom
*gymerth gnawd
*wrth, ynol
*mewn, a
*dywedd, diben
*ymddiddanodd

Ar ol y Credo, any bydd Precaeth, y canlyn vn o'r Homeliae a ddoded a'lan eisioes, neu a ddoder allan rac llaw drwy awdurdod gyffredin.

Ar ol cyfryw Precaeth, neu Homelia neu'r Cyngor, y Curat a veneic i'r bobl a uydd yna gwilie nac ympryd iae o vewn yr wythnos a vo yn canlyn, gan ei cyngori hwy yn * ddyfal y veddwl am y tylodion, a' ddywedyd un ai angwaner o'r ymadroddion hyn sydd yn canlyn val i gwelo ef vot yn orau wrth ei ddeall ei hun.

*brysur

Math. v.

Dysgleiried eych goleuni garbron dynion, mal y gwelont eych gweithredoedd da, ac yr anrhydeddant eych tad yr hwn y sydd yn y nefoedd.

Math. vi.

Na ddodwch y gadw ywch ych hunain dresawr ar y ddaiar, lle mae rhwd a' * gwyfon yn llygru, a'lle mae lladron yn torri * drywodd ac yn lladrata, eithyr dodwch y gadw ywch ych hunain dresawr yn y nef lle nid oes na rhwd na phryfed yn llygru, na llatron yn torri drywodd nac yn lladrata.

*pryfed
*drwyddaw

Math.

Beth bynac a vynoch i ddynion wneuthyr ichwi: velly gwnewch chwithau yddyn hwy: can ys hyn yw'r Ddeddyf a'r prophwyti.

Math. vii.

Nid pawp ys ydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i deyrnas nefoedd, anyd yr ei sy yn gwneuthyr ewyllys vy-Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.

Luc. xix.

Zacheus a safawdd ac a ddyfawd wrth yr Arglwydd, Wele, Arglwydd, hanner vyngolyd a rof ir tlodion, ac o gwneuthum gamwedd i neb, mi ei adveraf yn bedwar cymeint.

i. Cor. ix.

Pwy a i ryfela vn amser ar i gost i hun: pwy a blann winllan ac ni vwyty, oi ffrwyth? neu pwy a borth gadw * o ddefeid ac ni vwyty o laeth y defaid?

*braidd

i. Cor. ix.

A's nyni a heuesom y-chwi bethau ysprytol, ai mawr in innau vedi eich pethau bydol.

i. Cor. ix.

A wyddo-chwi bod yr ai n ys ydd yn gwasaneuthu ynghylch pethau sanctawl yn byw o'r aberth ar'ai ynt yn gwasaneuthu ar yr allor ynt gyfranogion o'r allor velly'r ordeniodd yr arglwydd yr ai n a bregethai'r Euangel vyw o'r Euangel.

ii. Cor. ix.

Y neb a hayo echedic, a ved echydic: ar neb a heuo yn aml, a vet yn aml. Gwnaed pob dyn yn ol meddwl i galon nid trwy ymrwgnach, neu rac angen: can ys Duw a gar y rhoddwr llawen.

Gal. vi.

Gwasanaethed yr hwn a ddyscir yn y gair, yr hwn ai dyscoym pob peth da. Nach twyller. Ni watwerir Duw can ys beth bynac a hayo dyn, hynny a vet.

Gal. vi.

Tra gaffom amser gwnawn dda i bawb ac yn enwedic ir eyn ynt o deulu y ffydd.

i. Tim. vi.

Duwiolder sydd gyfoeth mawr, o bydd dyn boddawn iy peth sydd eiddo: can ys ni ddaeth genym ddim ir byd ac ni ddygwn ddim or byd ymaith.

i. Tim. vi.

Gorchymyn ir sawl ynt gyfoethogion yn y byd hwn bod yn barod i roddi, ac yn llawen i gyfrannu, gan osod grwndwal da

yddynt

ydynt i hun erbyn yn amser sydd yn dyfod val y caffont y bywyd tragywyddol,

Nid ydiw Duw yn anghyfio, val y gellyngo dros gof ych gweithredoedd, ach trafael a ddel o gariad: yr hwnn a ddangosse so-chwi er mwyn y Enw ef, y sawl a rosoch ir sainct ac ydych etto yn roddi. *Hebr. vi.*

Na ellyngwch dros gof wneuthyr daioni a chyfranu can ys achyfryw aberth y bodlonir Duw. *Hebr. xiii*

Pwy bynac ys iddo dda yr byd hwn, ac a welo ei brawd mewn eisiau, ac a gayo ei drugaredd oddiwrtho, pa vodd y mae cariad Duw yn trigo yntho ef? *i. Ioh. iii.*

Dyro gardod oth dda, ac na thro vn amser dy wyneb o ddiwrth vn dyn tlawd ac velly ni thry yr Arglwydd i wyneb o ddiwrthyd tithau. *Tob. iiii.*

Bydd drugaroc yn ol dy allu. A's bydd llawer ith helw dyro yn ampl. A's bydd echydic, bydd ddyfal i roddi yn llawen or echydic: canys velly i cynnulli yt dy hun obr da yn dydd yr anghenraid. *Tob. iiii.*

Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, y sydd yn roddi echwyn ir Arglwydd: ac edrech beth a roddo ef ymaith, ef a delir iddo drachefn. *Parab. xix*

Bendigedic vo'r dyn a roddo i'r claf ar anghenus yr Arglwydd ai gwared ef yn amser trwbl. *Psal. xli.*

Yna bod i wardenieid yr Eglwys neu'r ei a osotont hwy, gynnull ddeuosion y bobl, ai ddedi ymblwch y tlodion: ac ar y dyddie gosodedic y offrymu, talu o bob dyn ir Curat yr offrymau dylyedus ac arferedic. Gwedi darvod hynny y dywaid yr Offeiriat.

Gweddiwn dros oll ystat Eccles Christ, sy yn milwriaw yma ar y ddaiar.

OLl-alluawc a' thragywyddawl Dduw, yr hwn trwy dy sanctaidd Apostol, a'n dysceist i wneuthyr gweddiau ac erbynien, ac i ddiolch dros bob dyn: ydd ym ni yn ostyngedic yn adolygu yti yn drugarocaf gymeryd eyn eluseni, a' derbyn eyn gweddiaw hyn, yr ei ydd ym yn ei hoffrwm ith ddwywol vawredd gan adolygu yti ysprytoli yn wastat yr Eccles gyffredinawl ac yspryt y gwirionedd, vndeb, a' chytcordio, a' chaniatha y bawb y sydd yn coffessu dy enw sanctaiddiol, gytuno yn-gwirionedd dy sanctaidd air a' byw mewn vndeb a' dwywol gariad. Ni a dolygwn yty hefyd gadw ac ymddeffen oll Christianus Urenhinoedd,

*Ani byd dim eluseni wedieiredd ir tloddion yno gedir y gairie hyw Gymeryd eyn eluseni heb ddywedyd.*

Tywysogion a' Llywiawdwyr, ac yn * ewedic dy wasanaythi * yddes Elizabeth eyn Brenhines, val y caffom y dani hi eyn llywodraethu yn dduwiol ac yn heddychol: a' chaniatha y'w oll gyngor hi, ac y bawb ac y sydd wedi eu gosod mewn awdurdod y danei, allu yn gywir ac yn uniawn ranny cyfiawnder, er cospi drugioni a' phechot, ac er maentunio gwir greddyf Dduw a' rhinwedd dda: dyro rat, nefawl dad, ir oll Escobieid, Bygeilieid a' Churadieid, val i gallont drwy ei buchedd ai athrawaeth ossod allan dy wir ath vywiol 'air, a * gwasnaethu'r santaid * Sacramentae yn iawn ac yn ddlydus: a' dyro ith oll pobl dy nefawl 'rat, ac yn espesal ir gynulleidfa hon y sydd yma yn gydyrchiol, val y gallont ac vfydd galon a dyledus barch wrando a' derbyn dy santaid air, gan dy wasanaethu yn gywir mewn santaidd rwydd ac vnionbep bob dydd oi bywyd. Ac ydd ym yn ostyngedic yn atolygu yty oth daioni, Arglwydd, conffor ddio a' nerthu pawb ac y sy yn y bywyd * trangedic hwn trwb trwbl, tristwch angen, clefyd, neu ryw wrth wynep arall: Caniathahyn, nefol dad, er cariad ar Iesu Christ, eyn vnic gyfringwr a'n dadleuwr.

*Yn a y canlyn y cyngor hwn, ar rym amseroedd, pan welo'r Curat y bobyl yn escaelus am ddyfod ir Commun bendigedic.*

Y Ddym ni wedi ddybod ynghyd yr awrhon, wir garedigawl brodyr, i ymborth ar swpper yr Arglwydd, ir hon o ran Dduw ich gwahoddaf bawb ac y sydd yma, yn gynhyrchiol, ac a dolygaf ywch er cariad ar yr Arglwydd Iesu Christ, na * ommeddoch ddybod iddei, gan bod ych galw mor garedigol ach gwahodd gan Dduw i hun. Chwi wyddoch mor o bidus ac-mor ancaredic o beth yw, pan vo gwr wedi arlwyaw gwledd werthfawr, a' chwedi trwsio i vwrdd a' phob ryw arlwy, megis na bai ddim yn eisieu anid y * gohawddwyr i eistedd: ac eto yr ei y alwyd eb ddim achos, yn andiolchusaf yn * gwrthod dyfod. Pwy bu o hano chwi yn-cyfryw gyflwr ny chyffroei? Phy ni thybygei wneuthyr cam a syrhaed mawr y ddo? Erwydd paam vy annwyl garedicaf brodyr yn Christ, gwiliwch yn dda rhac y chwi, gan ymwrthladd oddiwrth y swpper santeiddiol hon, annoc bar Duw ich erbyn. Hawdd i ddyn ddywedyd ni chommunabi erwydd bot negeseu bydawl im rhwystraw: eithyr cyfryw escusodion nyd ynt mor hawdd i derbyn yn

*espesal
*wreic

*gweini
*rinweddau

*darbodedic

*worthodoch

*gwesteion
*nacau, gommedd

gynnadlwy

gymradwy gar vron Duw. As dywaid neb, ydd wyf i yn be-
chadur* brwnt: ac am hyny yn ofni dyvod: paam can hyny
nad ydych-chwi yn edivarhau ac yn *gwellhau ac a Duw ich
galw, anid oes arnoch gywilidd ddoedyd na ddeuwch? pan ddle-
ech ymchwelyt at Dduw, a ymescusw-chwi a' dywedyd nad yd-
ych barod? Ystyriwch ynoch ychunain, pa vachanet a dal gy-
fryw goec *escusion gar bron Dduw. Yr ei'n a wrthodessont y
wledd yn yr Euangel, o bleit yddynt brynu Tythyn, neu bron
eu ieue ychen, neu o bleit eu priodi ni chawsont velly ei escuso-
di namyn ei cyfri yn anteilwng o'r wledd nefawl. Myvi o'm
rhan i sydd yma yn gynhyrchiol, ac erwydd vy swydd, ydd wyf
ych gwahodd yn enw Duw, y ddwyf ich galw o ran Christ, a'
megis i caroch ych Iechedwriaeth ych hunain yddwyf ich cyn-
ghori, i vod yn gyfrannogion or Commun bendigedic hwn. Ac
val y buwiw gan vab Duw vaddae ei enaid gan angau ar y
*groc dros ych iechyd, velly yn yr vn modd y ddleech chwi-
thau gymeryd y Commun ynghyd er cof am i angau ef, val i
gorchymynnodd ef ehun. Yr awrhon a's chwychwi val hynn
ny's gwnewch, meddyliwch ynoch ych hunain vaint y cam-
wedd yddy-chwi yn ei wneuthur a Duw, ac mor blin ywr *bo-
en y sydd aruchaf eych penneu am y peth. A' lle ddych chwi yn
anvodloni Dduw mor drwm gan ywch wrthod y wynfydedic
wledd hon, ydd wyf ych rybuddio, ich cyngori, ac yn *ydolygu
i chwi nad angwanegoch yr angaredigrwydd hyn ym-pe-
llach: yr hwn beth a wnewch, a's chwychwi a saif gan lyga-
drythu *ac edrych ar y sawl sy yn Communo, ac eb vod yn gy-
frannogion o hanaw ych vnain, canys pa peth y bernir hyny
amgen, no mwy o *dremic ac ancaredigrwydd gan Dduw? Diau
mae andiolch mawr yw ychwi nacau pan ich galwer: and y
mae'r bai yn bwy o lawer pan vo rhai yn sefyll heibio, ac etto
eb na bwytta nac yfed y santaidd Commun hwn gydac eraill.
Atolwc ywch pa beth amgenach yw hyn amyn gwatwar a'
diystadlu dirgeledigaeth Christ? Wrth bawb ydd ys yn dy-
wedyt, Cymerwch a' bwytewch, cymerwch ac yfwch bawp
o hwn, gwnewch hyn er cof am danaf. A pha semblant gan
hyny neu a pha ddigwilydddter y gwrandew chwi y geiriau
hynn? Beth vydd hynn amgen onid esceuluso, diystyru, a'
gwatwor *Testament Christ? Pa erwydd, yn gynt nac i gwne-
loch velly, ewch ymaith, gedwch le yr ei ys y a meddwl dywi-
ol. Eithr pan vo chwi yn myned ymaith, mi a tolygaf ychwi
meddyliwch ynoch ych vnain oddiwrth bwy i ddych yn my-
net: ydd y chwi yn *myned ywrth vwrdd yr Arglwydd, ydd

*aruthr
*emendic
*esguso-
dion
*groes
*gospedi-
geth
*erbyn
arnoch
*a sein
*ddirmic
*Deddyf
*ymadel
a bort

ychwi yn myned yworth eich brodyr, ac o ddiwrth y wledd y nefolaf ymborth. As y pethau hyn a ystyriwch yn * ddibrifol, chwi a drowch drwy 'rat Duw i beddwl a vo gwell: ac er mwyn caffael hyn yr ubydd erbyniwn, tra byddom yn cymeryd y Communn bendigedic.

*brysyr

Ac ar ryw amseroedd y docdir hyn yma hefyd, pan welo y Curat bod yn berthynasol.

ANwyl garedigion, yn gymaint a'n bot ni yn gwbl ddyledus i rodi ir oll alluawc Duw eyn Tad nefawl wir galonawc ddiolwch am yddo rodi ei vab ein Iachawdr Iesu Christ, nid yn unic i varw drosom, amyn hefyd y bod yn ymborth ac yn gynhaliaeth yspryddol y nyni, val yr eglurwyt y ni, yn gystal drwy 'air Dduw, a thrwy y Sacramentae bendigedic y gorph a'i waed ef, yr hwn gan y bod yn beth mor gonffordddus ir aina'i cymero yn deilwng, ac mor beryclus ir ai' a * ryfygo ei gymryd yn anteilwng: Uynylyed i yw ych cyngori chwi i ystyried teilyngdawd y dirgeledigaeth bendigedic, a'r mawr bericl sydd oi gymryd ef yn anteilwng, ac velly chwilio a holi ych kydwybodau ych hunain, val y dlyech ddybod yn sanctaidd ac yn lan ir duwywolaf a' nefolaf wledd. Ac na ddelech dim anid yn y dillad priodas, yr ai n a obyn Dduw yn y Scrythyr lan, ac velly dybod a' chaffael ych derbyn val teilwng gyfrannogion o gyfryw * bwrdd nefol. Y ffordd ar modd i hynny, sydd val hynn: Yn gyntaf bod i chwi chwilio, a' holi eych bucheddau a'ch ymddygiad wrth reol gorchymyneu Dduw, ac ym-pa beth bynac y gwypoch ywch bechu, pa vu bynac ai ar air ai ar weythred, yna ymofidiwch am eych buchedau pechadurus, coffesswch ych unain ir oll alluawc Duw, gan gyflawn bryd y wellau ych buchedd. Ac a's chwi a' welwch ych camweddau yn gyfryw, ac nad yn yn unic yn erbyn Duw, namyn hefyt yn erbyn ych cymydogion: yno bot y chwy * ymgysylio a hwy, gan bod yn barod i wneuthyr yddynt iawn a' * ddiwic yd yr eithaf o'ch gallu, am bob camwedd a thraha a' wnaethoch y neb arall, ac yn yr un modd bod o hanoch yn barod y vaddae y eraill a wnaeth ich erbyn chwi, megis ac i mynnu-chwithau gaffael maddeuant am eich camweddae ar law Duw: canys as mewn modd amgen, nyd yw cymeriad y Communn bendigedic ddim anid angwanegu eych barnedigaeth.

*hydero

*bort

*gymodi

*thal

Ac

Ac erwydd bod yn angenreidiol na ddel neb i'r Commun bendigedic, anid can gyflawn ymddiried yn trugaredd Dduw ac a heddychol gydwybod: can hyny a bydd neb o hano-chwi c bleit y moddion hyny eb allu heddychu i gydwybod ehun, anid bot yn raid yddo angwanec cygor, yna deued attaui, neu at vn arall doeth dyscedic ys y Wenidoc gair Duw, ac agored i ddolur val y gallo dderbyn gyfryw gyngor ysprytol, fforddiat, a' chonffordd yni allo i gydwybod ga el ymysgafnhau, a' hynny drwy weinidogaeth gair Duw, allu o hanaw dderbyn * conffortb a' * daioni y gellyngdod, er heydychu ei gydwybod, ac ymochelyd pob *petruster ac anwybyddiaeth.

*kyssur
*grym
*doswt

Yna y dywaid yr Offeiriat y cygcor hwn.

ANwyl garedigion yn yr Arglwydd, y sawl y sydd yn meddwl dyvod ir bendigedic Commun corph a' gwaed eyn Iachawdr Christ, rhaid ywch' ystyried beth y mae sanct Paul yn i yscryfennu at y Corynthieit val y mae ef yn cyngori pawb yw probi ac yw holiei hunain cyn yddynt ryfygu bwytta o'r bara hwnnw, ac yfed or cwppan hwnw. Canys val y mae y lles yn vawr, a's a chalon wir edifeiriol ac a bywiol ffydd y cymerwn y Sacrament bendigedic hwnnw (canys yna yddym ni yn ysprytawl yn bwyta cic Christ, ac yn yfed y waed ef, yna i ddim ni yn trigaw yn Christ, a' Christ ynom ninau, yddym ni yn vn a Christ, a' Christ a nineu) velly ymae y pericyl yn vawr, as ni ei cymer yn anteilwng. Can ys yna i ddym ni yn euog o gorph a' gwaed Christ yn Iachawdyr, y ddym yn bwyta ac yn yfed eyn barnedigaeth einhunain, eb ystyried corph yr Arglwydd, y ddym yn ennyny * digllonі Duw in erbyn, y ddym yn i annog ef in plau ac amrafael glefydau, ac amryw angau. Can hyny o bydd neb o hanoch yn gablwr Duw, yn * rhwystro neu yn enllibio ei a'ir, yn odinebus, ai mewn malais neu gynfigen, ai mewn rhyw bai ceryddus arall, y mofidiwch dros ych pechodeu, ac na ddewch ir bwrdd santaiddiawl hwn, Rhac) yn ol cymeriad y Sacrament bendigedic hwnnw) y diavol vyned y noch y mewn megis i ddaeth mewn Iuddas, a'ch llanwi yn llawn o bob enwiredd, a'ch dwyn i ddestriw, enaid a'chorph. Brenwch gan hyny ych hunain (broder) megis na'ch barner gan yr Arglwydd. Gwir edifarhewch am eych pechadau aeth heibio. Bidywch bywiol a' * diogel ffydd yn Christ eyn Iachaw-

*digofeint
amy
*llesteir
*ffyrf

dyr. Gwellhewch eych buchedd a'byddwch mewn cariad perffa=
ith a phawp, velly y byddwch weddus gyfrannogion o'r dirge=
ledigaeth sancteiddiol hynn. Ac o vlaen pop peth y-mae yn
rhaid i chwi roddi gostyngeiddaf a' charedicaf ddiolwch i Dduw
Tad, y Map a'r Yspryt glan, am brynedigaeth y byd, drwy an=
gau a' dioddefaint eyn Iachawdr Christ, Duw a' dyn, yr hwn
ymostyngodd i angau ar y* groc drosom ni bechaduriaid truein
yr ai n oeddē yn gorwedd mewn tywyllwch a' gwascot angau,
val i gallai ef eyn gwneuthyr ni yn blant y Dduw, a'n derchafel
y vywyt tragywyddawl. Ac er mwyn cofio o honam yn wastad
ddirvawr gariad eyn Arglwydd a'n vnic Iachawdyr Iesu
Christ val hyn yn marw drosom, a'r aneirif ddoniau daionus
(yr ai drwy vywallu ei werthfawr waed) a enillodd ef ini: ef a
osodawdd ac a ordeniawdd santaidd ddirgeledigaethau, val
gwystlon oi gariad, a' gwastadawl gof am ei angau er mawr
ac anterfynawl conffort y-ny. Can hynny iddo ef gyd ar Tad
a'r Yspryt glan rhoddwn (val ydym rwymedicaf) wastadawl
ddiolch gan ymostwng yn gwbl yw santaidd ewyllys ef, gan
vefyrio yw wasanaeuthu ef mewn gwir santeiddrwydd a'chifi=
awnder, oll ddyddieu ein einioes. Amen.

*groes

Yna y dywaid yr Offeiriad wrth yr ai a vo yn dyfod i gymeryd y Commun bendigedic.

*o brysur

CHwychwi y sawl y sydd yn wir ac yn* ddifrifol yn edifarhau, am eich pechodau, ac y sydd mewn cariad perffaith ach cymydogion, ac yn meddwl dilin buchedd newydd, gan gan=lyn gorchmynion Duw, a' rhodio o hyn allan yny ffyrdd santaidddiol ef, dewch y nes, a chymerwch y Sacrament santeiddiol hwn ich conffordd, a gwnewch eych gostyngedic cyffes ir oll alluawc Dduw, gar bron y gynnulleidfa hon y sydd wedi ymgynull yma ynghyd yn y sanctaidd enw ef, gan *estwng yn vfydd ar ych gliniau.

*benlino

Yna dywedir y gyffes gyffredin hon, yn enw pawb o'r ai a vo mewn meddwl cymryd y Commun bendigedic, y naill ai gan vn o honyntwy, ai gan vn o'r Gwenidogion, ai gan yr Offeiriad ehun, gan ostwng o pawp yn vfydd ar ei gliniau,

Oll-allu

O Ll-alluawc Dduw, tad eyn Arglwydd Iesu Christ, gwneythydd pob dim, barnwr pop dyn, yddym ni yn cydnabot ac yn ymosidio dros eyn amryw bechodau a'n enwiredd, yr ai'n oddydd i ddydd yn 'orthrwm a wnaethō, ar veddwl, gair, a'gwaithred, yn erbyn dy dduwiol vawredd gan annoc yn gyffrownaf dy ddigofeint ath var yn eyn erbyn: Ydd ym *yn difrifol yn edifarhau, ac yn ddrwc gan eyn calonau dros eyn camweithredoedd hynn, eu coffa ys y * drwm genym, ey baych y sydd anrhaith i oddef: trygarha wrthym, trugarha wrthym, drugarocaf dad, er mwen dy vn-mab eyn Arglwyd Iesu Christ, madde y-ni yr hyn oll aeth heibio, a' chaniatha yni allu byth o hyn allan dy wasaneuthu ath voddloni mewn newydd deb buchedd, er anrhydedd a' gogoniant dy enw: trwy Iesu Christ eyn Arglwydd. Amen.

*o brysin
*ovidus

Yna yr Offeiriad neu'r Escop a's bydd yn gydrychiol, a saif gan droi at y bobl a ddywaid val hyn.

O Ll-alluawc Duw, eyn Tat nefawl, yr hwn o ei vawr drugaredd a ddewis vaddeuant pechodau i bawb gan edifeirwch calon a' gwir ffydd a ymchwel ataw, a drugarho wrthych, a vaddeuo y chwy, ac ach * rhyddhao oddiwrth eych oll bechodau, ach nertho ac ach cadarnhao ympob daioni, ac ach duco i vywyd tragywyddawl, trwy Iesu Christ Arglwydd. Amen.

*gellyngc

Yna y dywaid hefyt yr Offeiriat.

Gwrandewch pa ryw eiriau conffordus a ddywaid eyn Iachawdyr Christ wrth bawb ac a wir ymchwelo ataw.

Deuwch attaf bawb ac y sydd yn travaelu ac yn llwythoc a' mi a esmwythaf arnoch. Velly y carodd Duw y byd, val y rhoddes ef i vnic anedic vab, val nad elai neb a gredai iddo ef ynghyfergoll namyn caffael y bywyd tragwyddawl.

Gwrandewch hefyd beth y mae Sanct Paul yni ddywedyd. Hwn sydd air gwir a' * theilwng i bawb yw dderbyn dyvot o Iesu Christ ir byd hwn y iachay pechadurieit.

*dyledne

Gwrandewch hefyd pa ddywaid Ioan sanct, As pecha neb, ymae yn i ddadleywr y gyda'r tad, Iesu Christ y cyfion, ac ef ew'r a'berth dros eyc pechodau.

Yn ol yr ei hyn ydd a yr Offeiriat racddo, gan ddywedyd

Derchefwch eych calonau.

Atep.

Ydd ym yn eu dyrchafael yr Arglwydd.

Yr Offeiriat.

Diolchwn i'n Arglwydd Dduw.

Atep.

Mae yn * addas ac yn gyfiawn gwneuthyr hynny.

*deilwng, weddus

Yr Offeiriat.

Ymae yn gwbwl addas, yn gyfiawn an rhwymedic ddyled ni yw, bob amser ac ym-pob lle, ddiolwch yty, Arglwydd santaidddiol dad, oll alluawc dragywyddawl Dduw.

Y ma isot y cessir y Racymadroddion priodawl wrth yr amser, a's bydd yr vn wedy'r 'osot yn espesawl. Ac anyd ef yn ddidor yr ymlgyyn, Can hyny gyd ac Angelion ac Acchangelion. &c.

## Racymadroddion priawt.

Ar dydd Natalic Christ, a saith die gwedy.

CAn yti roddi'r Jesu Christ dy vn Mab yw eni ar gyfenw y heddyw y drosom, yr hwnn trwy weithred yr yspryt glan a wnaethpwyt yn wir ddyn, o hanfot y vorwyn Vair ei vam, a hynny eb * vann pechot, i'n gwneuthu'r yn lan oddiwrth * oll pechot. Can hyny gyd ac Angelion ac Archangelion.

*vacul, brych, brychevyn

*pop

Ar dydd Pasca saith die gwedy.

AN'd yn bendivaddeu ydd ym yn rwymedic ith voliannu, dros anrhydeddus gyfodiad dy Vap Jesu Christ e yn Arglwydd, canys ef ywor gwir oen Pasc yr hwn a offrymwyd drosom, ac a ddileawdd bechot y byt, yr hwn trwy y angau ei hun a ddinistrawdd angae, a thrwy i adgyfodiad y dywyt, a * adverawdd yni vywyd tragywyddawl. Can hynny. &c.

*dduc

Ar dydd Derchafael a saith dydd gwedy.

TRwy dy annwylaf Vap Iesu Christ eyn Arglwydd, yr hwn yn ol ei anrhydeddus gyfodiad a ymddangosodd yn gyhoeddus yw oll ddiscipulion, ac yn eu golwc ef ascennodd ir nefoedd y baratoi lle ini, bot i ni lle mae ef ascennu hefyd, a'theyrnasu gyd ac ef mewn gogoniant. Can hynny gyd ac Angelion. &c.

Ar ddydd Sulgwyn a'chwech diernot gwedy.

TRwy Iesu Christ eyn Arglwydd, ac yn ol ei gywiraf addewydi y descennawdd yr Yspryt glan heddiw or nef, a disymwth * son mawr megis gwynt nerthoc, *ar wedd tafodau tanllyd, gan ddescen ar yr Apostolion yw dyscu hwy, ac yw harwein i bop gwirionedd, gan roddi yddynt ddawn amryw ieithoedd a'hyder hefydd gyd a* chariad gwaresawc yn ddyfal y brecethu r Euangel yr cenedloedd, o bleit yr hyn eyn dycpwyt al'an o dywyllwch a* chyfeilorn ith eglur olauni ac y wir wybodaeth am danati a'th Vab Iesu Christ. Can hynny. &c.

*sain, trwst y
*yn rhith
*gwyn-uyt, awydd
*didro

Ar ddydd gwyly Trintot yn unic.

YMae yn wir addas, yn gyfiawn, a'n rwymedic ddlyed bod i ni bob amser, ac ym pob lle, ddiolwch y-ty, Arglwydd, oll-alluawc a'thragywythawl ddduw, yr hwn wyt vn Duw, vn Arglwydd, nid vn person yn vnic, onid tri* pherson mewn vn hanbod. Can ys yr hyn ydd ym yn ei gredu am ogoniant y Tad, hyny a gredwn am y Mab, ac am yr Yspryt glan eb*' ohanred neu* ancymmedr. Can hyny gyd ac Angelion. &c.

*ohanieth amrafael
*angogyfuchder.

Ar ol y Rhacymadroddion hyn, y canlyn yn y vann.

CAn hynny gyd ac Angelion ac Archangelion, ac-hyd ac oll cwmpeini nef, ymoliannwn ac yn*ma-wrhawn dy'ogonedus Enw, gan dy voliannu yn waſted, a dywedyd, Sainct, ſanct, ſanct, Arglwydd Dduw'r lluredd. Nef a'daiar ys ydd lawn oth, ogo-niant gogoniant [abo] y ty Arglwydd gorucha f.

[*mawrygwn]

Yna yr Offeiriad ar ei linian wrth vwrdd yr Arglwydd a ddywaeid yn enw yr oll rei a gymerant y Commun, yn y wedd ys ydd yn canlyn.

NId ym ni yn*rhyfygu dyfod ith vwrdd*y ma-drugaroc Arglwydd, gan ymddiried yn ein ciſtionder ein vnain namyn yn dy ampl ath ddirfawr drugaredd di nid ym ni deilwng cymaint ac y gaſcul'r briwſion y dan dy v-wrdd: Eithr ty ywt'r vn Arglwydd yr hwn biau o briodoldep yn waſtat drugarhau. Ca-niata ymy gann hynny Arglwydd graſawl velly vwyta cnawd dy annwyl-vab Ieſu Chriſt, ac yfed ei wa-ed, val y gallo eyn cyrph pechadurus gael ei gwneuthur yn lan drwy y gorph ef, a'n anaidiau ei golchi drwy y werthfawrocaf waed ef, val i gallom [byth drigo yntho ef ac yntau ynom nin-nau. Amen.

[*hyderu *hwn]

Yna yr Offeiriad yn ei ſefyll a ddywaid val y mae yn canlyn.

OLl alluawc Dduw eyn Tat nefawl, yr hwn oth drugaredd a roddaiſt dy vn mab Ieſu Chriſt y ddioddef angau ar y*groc, er eyn pr-ynu, yr hwn a wnaeth yno (trwy y offrwmiat ei hun yn offrymedic vnwaith) gyflawn ber-ffaith, a'digonawl aberth, offrwm, ac*iawn, dros bechodau'r oll vyd, ac a ordeiniodd ac yn y ſantaidd Euangel a orchymynodd ini * gadw tragywyddawl goffa am i werthvawr angau hynny, nes i ddyfod drachefu. Gwrando ni drugarog dat, ni atolygwn y-ty, a'chaniata i ni gan gymryddy creadurieid hyn o vara'a gwin, ynol ſantaidd or-dinat dy vab Ieſu Chriſt eyn Iachawdyr, er cof am ei angau a'i ddioddefaint, ally bod yn gyfrannogion o ei vendigedic gorph a'i waed, yr hwn ar y nos hon y bratychwyt, a gymerth va-

[*groes] [*olwy-giat.] [*gynhal.]

ra,

ra, a'gwedi yddaw ddiolwch, ef ei torrodd , ac ei rhoddes yw ddiscipulion, gan ddywedyd, Cymerwch, bwytewch, hwn yw vy corph. Yr *vn ydd ys yn i roddi drosoch, gwnewch hyn er cof am danaf. *Yr vn modd gwedi swpper, ef a gymerth y *cwpan, a' gwedi yddo ddiolwch ef, ei rhoddes yddynt, gan ddoedyd, Yfwch o hwn bawb, can ys hwn yw vy gwaed g'r Testament newydd, yr hwn ydd ys yn ei dywallt drosoch a'thros lawer er maddeuaint pechodau, gwnewch hyn cenifer gwaith ac ei hyfoch, er cof am danaf.

*hwn

*phiol

*phiol

Yna y Gweinidoc a gymer y Commun yn y ddau ryw y hun, ac yn nesaf y dyry ir Gweinigogion eraill, a bydd yno neb o hanynt, val y gallont gymporthy Gweinidawc penaf ac wedi hyny, ir bobyl yn ei dwylaw yn *gestwng ar ei gliniau: Ac wrth roddi y bara, ef a ddywait.

*gan lini aw neu benlinio

Corph eyn Arglwydd Iesu Christ yr hwn a *roespwyt droso ti, a gatwo dy gorph a'th enaid i vywyd tragywyddawl: a chymer a bwyta hwn er cof varw Christ drosot'a ac ymborth arno yn dy galon drwy ffydd, gan [roddi] diolch.

*roddwyt roed.

A'r Gweinidawc a vo yn rhoddi'r *cwpan a ddywaid.

Gwaed eyn Arglwydd Iesu Christ yr hwn a dywalltwyd drosot'a gatwo dy gorph a'th enaid y vywyd tragyddawl: ac yf hwn er cof tywallt gwaed Christ y trosot', a bydd ddiolchgar.

*phiol

Yna yr Offeiriat a ddywaid weddi'r Arglwydd, gan adrodd o'r popul bob arch o hanei ar y ol ef.

Wedi hynny y dywedir val y canlyn.

O Arglwydd, a'n nefawl Tad, y ddymni dy ostyngedic weision yn cwbl ddisifu ar dy dadol ddaioni, yn drugaroc dderbyn eyn aberth * hon o'volant a'diolwch, gan *ei fyn arnat yn ostyngeiddiaf bot trwy ryglyddon ac angau dy Vab Iesu Christ, a'thrwy ffyd yn y waed ef, i ni ac ith oll sanctaidd Eccles ga ffael maddeuant o'n pechodau, a'phob *doniae erail ei ddioddefaint ef. Ac yma ydd ym yn offrwm ac yn *cynnyrchy yty. Arglwydd eyn vnain eyn enaidiau, a'n cyrph, y vod yn aberth resymol, sanctaidd, a bywyol yty, gan adolygu yt yn ostyngedic allel o bawb ohanom ys ydd gyfranogion o'r

*hyn

*a do-wyn yty

Commun bendigeid hwn, gaffael eyn cyflawni* ath rad ac ath nefol bendith* a'chyd bom ni yn anteilwng drwy eyn amrafaelion bechode y offrwm yty* vn aberth: eto ni atolygwn y ty gymryd eyn rwymedic ddyleed a'n gwasanaeth hyn, nid gan bwyso eyn haeddedigaethau, anid gan vaddau eyn* pechodau, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd, trwyr hwn, a'chyd a'r hwn, yn vndawd yr yspryt glan, oll anrhydedd a gogoniant avo yt' Dad oll alluawc, yn oes oesoedd. Amen.

*oth ras
*ac er eit bot
*neb

## Neu hyn,

OLl-allnawc a'bythfywiol Dduw, yr ym ni yn dirfawr ddiolwch yty, am bod yn wiw genyt eyn porthi, yr ein a gymersom yn ddyledus y dirgeledigaethe santeiddiol hyn, ac ysprydawl ymborth werthfawrocaf gorph a'gwaed dy Vab eyn Iachawdyr Iesu Christ, ac wyt yn ein cadarnhau drwy hynny oth* ymgeledd ac oth ddaioni y ni'sef ein bod yn wir aelodau gwedi eyn corphi yn dy ddirgel-gorph di, yr hwn yw gwynvydedic cynnulleidfa o oll ffyddlon bobl, a'bod hefyd yn etifeddion drwy'obaith, dy deyrnas dragywyddwl, gan haeddigaethau gwerthfawrocaf angau a dioddefaint dy annwyl vab: ydd ym ni yr owrhon yn ostyngedic yn atolygu y ty nefawl dad, bod velly yn cynnorthwyaw a'th rat, val y gallom yn wastad drigo yn y santaidd gymdeithas honno, a'gwneuthyr pob rhyw weithredoedd da ac a ordeiniaist y ni rodio ynddynt, trwy Iesu Christ eyn Arglwydd i'r hwn gyd a thi a'r yspryt glan, y bo oll anrhydedd a'gogoniant yn dragywyddawl. Amen.

*hoffedd

Yna y dywedir, neu i cenir.

GOgoniant y Dduw yn yr uchelder, ac* yn y dayar* tangnheddyf, ewyllys da* i ddynion. Ni ath addolwn, ni ath vendithiwn, ni ath anrhydeddwn, iti y diolchwn am dy vawr'ogoniant, Arglwydd Dduw brenhin nefawl, Duw dad oll alluawc, Arglwydd yr vnic genedledic Vab Iesu Christ, Arglwydd Dduw, oen Duw, vab y Tad, yr hwn wyt yn* diley pechodau'r byd, trugarha wrthym. Ti yr hwnn wyt yn dileu pechodau yr byd, trugarha wrthym

*ar
*heddwch
*tu arat.

ym. Ti yr hwn wyt yn dileu pechodau yr byt derbyn eyn gweddi. Ti yr hwn wyt yn eistedd ar ddeheulaw Duw dad, trugarha, wrthym. Canys ti yn unic wyt *sanct, ti yn unic* wyt Arglwydd ti yn unic, Christ, gyd a'r yspryt glan wyt, oruchaf yn-gogonian Duw Tad. Amen.

*sancta-idd *ylw'r

Yna yr Offeiriat neu'r Episcop as bydd ef yna yn* gyndyrchiol a ellwng y bobl ymaith a'r vendith hon.

*presennol y van

TAngnheddyf Duw yr hwn ys ydd uchlaw pob dyall, a gatwo eych calonnau e'ch meddyliau yn-gwybodaeth a chariad Duw, a'i vab Iesu Christ ein Arglwydd. A bendith Dduw oll alluawc, y Tad, y Mab, ar yspryt glan a vo ich plith ac a drigio y gyd chwi yn wastad. Amen.

*heddwch

Collecte y'w dywedyd yn ol yr Offertori, pryd na bo un Commun bob rhyw ddiwarnod, un. A'r un'rei ellir i dywedyd hefyt gensfer amser ac y bo achos yn gwasanaethy, wedi'r Collectae neu'r Bore uawl ar Brydnawnawl weddi, Commun, neu'r Letaniae val y gwelo'r Gwenidoc vod yn gymmesur.

offrymfa

CAnnorthwya ni yn drugarawc Arglwydd, yn ein gweddiau hyn a'n erbynie, a llywodraetha fordd dy wasanaethddynion tuagat gaffael iechyt tragywyddawl, val y mysc oll gyfnewidieu a'damwyniae'r * bywyt marwol hwn eu gallont byth gaffael ei h'amddeffen drwy dy radlawnaf ath barotaf borth, trwy Christ ein Arglwydd. Amen.

*buchedd varwol hon

OLl alluawc Arglwydd, a'byth bywiol Dduw, ni dylygwn y-ty vod yn wiw genyt uniawni, sanctaiddio, a'llywodraeuthu ein calonnau a'n cyrph yn ffyrdd dy Ddeddfeu, ac yn-gweithre doedd dy orchymynnion, megis trwy dy gydarnhaf nodded, ac yma ac yn dragywyddawl, y gallom vot yn gatwedic gorph ac enaid, trwy eyn Arglwydd a'n Iachawdur Iesu Christ. Amen.

*gyfreithieu

CAnniata ni a dolygwn y-ty ollalluawc Dduw,
am y geiriau a glywsam heddiw, a'n clustie o
ddieithr, ei bot velly drwy dy rat wedy eu plan-
nu yn ein calonau o ddymewn, val y gallont
ddwyn ynon ffrwyth buchedd dda y anrhydedd
a'moliant ith enw, trwy Iesu Christ eyn Argl-
wydd. Amen.

RHacklayna ni, Arglwydd, yn eyn oll weithredoedd,
ath radlonaf hoffter, a'rhwyddhani ath parhaus
gymporth, val yn eyn oll weithredoedd dechreuedic
ancerfynnedic, a'ther fynnedic ynoti y gallom vo-
liannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gan dru-
garedd gaffael bywyd tragywyddawl, trwy Iesu Christ eyn Ar-
glwyd. Amen.

OLl alluawc Dduw, ffynnon yr oll ddoethineb, rh-
wn wyt yn gwybot eyn angenreidiau cyn y gofy-
nnom, a'n anwybodaeth yn gofyn: Ni a dolygwn
y-ti dosturio wrth eyn gwendit, a'r pethau hyny
yr ein *o bleit eyn anteilyngdod ny veiddiwn, ac o
bleit eyn dallineb ni vedrwn eu gofyn, bod yn deilwng genyt eu
rhoddi y ni, er teilyngdod dy Vab Iesu Christ eyn Arglwydd.

*erwydd

OLl-aluawc Dduw-yr hwn addewaist wrando eir-
chion yr ain a ovynnant yn enw dy Vab, ni a doli-
gwn y ti'ostwng yn drugaroc dy glustiau atom yr ei
'n a wnaetham yr owrhon ein gweddie a'n erfynni-
on ataf fa' ettansatha y pethau hynn a*ar chesam yn
ffyddlawn yn ol dy ewyl'ys allu eu caffael yn ollawl i borthi eyn
angen, ac er eglurhau dy'ogoniant, trwy Iesu Christ eyn Ar-
glwydd. Amen.

oddeisyfe-sam

Ar ddyddiau hwilie any bydd Commun, y dywedir cwbwl ac a osodwyt ar
y Commun, yd ddiwedd yr homeli, gan*ddibenny a'r y weddi gyffredin
dros oll ystat Eccles. Christ yn milwriaw yma ar y ddaiar, ac vn neu an-
g'waneg o'r Collectae vcho, val y bo'r deunydd yn gwasanaethy, Ac yna
ni bydd gwasanaethu Swper yr Arglwydd, any bydd swrn nifer y gy-
mmo gydar yr Offeiriat, val y gwelo ef vod yn iawn. Ac any bydd *mwy
nac vgein dyn yn y plwyf, o bwyll i gymeryd y Commun bendigedic:
etto ni bydd yna vn Commun an i bydd pedwar, neu dri or lleiaf y gym-
uno gyd a'r Offeiriat. Ac mewn mam Eglwysydd ac *Ecclesi*llawer o
Offeiriaid a'*Diaconieit cymerant wy oll y Cōmun y gyd a'r Gweni-
doc bob Sul or lleiaf any bydd ganthynt achos resymol i'r gwrthwyneb.
lc er dileu yr ouergoel ys ydd, ai a allo bot gon neb yn y bar a ar gwin, af a
wasanaetha bod y bara yn gyfryw ac ys ydd yn arferedic yw bwyta ar
y bwrdd gyd a bwydedd erail, eithr y bara gwenith or gorau ar puraf a'r

ddywe-ddu,

*oddiar

aller

aller i gael yn wyddiod. Ac a gweddillis peth o'r bara neu'r gwin, y Curat ei caiff yw ddefnyddiant i hun,

Y bara a'r gwin ir Commun a baratoir gan y Curat ac wardeniaid yr Eglwys ar gost y plwyf, a'r plwyf a rydd heir o ryw symme arian, neur dyledion eraill yr oeddent arferedic o'r blaen yw talu am danaw, wrth ddygymbot ei tai bob Sul.

A *nota bot y bop plwyfol Communo o'r lleiaf dair gwaith yn y flwyddyn, ac o hynny bot y Pasc yn vn, a cymmeryd hefyd y Sacramentae a defodae eraill *er wydd y drefn osodedic yn y llyfyr hwn. A'phob blwyddyn y Pasc, bod i pob plwyfol gyfri at Berson Vicar, neu ei Curat, neu ei bro curatorieit, a'thalu yddynt neu yddo ef oll ddyledion Ecclesic yn arferedic ddyledawc yna ac ar yr amser hynny y'w talu.

*glwenidogion

*bil i bo;

*ynol yr

## Gwasanaeth y Betydd ys ydd yw arfer yn yr Eccles.

Y Mae yn eglur trwy hen yscrifenyddion, pan yw nad oeddit yn gyffredin yn arfer yn yr hen amser o Wasanaethy Sacrament y Betydd oddieithr dau amser yn y flwyddyn, sef y pasc ar sul gwyn. Ac ar yr amserae hynn i gwasanaethid e ar gyhoedd yn gwydd yr oll gennulleidfa yr hon ddefod yr awrhon aeth yn anarferawl cyd na ellir er mwyn llawer o achosion ei adnewyddu) er hynny e gredir bod yn iawn canlyn y ddefod honno, cyn neset ac i gellid yn gymesur. O blegit paam bit rybuddio'r pobl, vod yn gymesuraf na wasanether y Batydd namyn ar y suliau, a dydd iau gwiliau eraill, pan allo y nefer mwyaf o'r bobyl ddyfod ynghyd yn gystal er mwyn bod ir gynnulleidfa yno yn bresenawl, testiolaethu erbynniat ysawl a vedyddier ir amser hinni inifer eccles christ, a hefeid ddobleit im bedidd rai bechain bot i bob, den a vo ino in bresennawl alw ei gof ataw am i profess ac adewit a wnaeth ef gint in i vetidd, er widd hinni hefid mae in reidiol vod gwasanaeth y bedidd in iaith camberaec. Ac er hin ina oll(as angen ei gofin) ef a ellir bediddio rhai bechain bob amser gartref.

*rinwedd

*adnewyddu

Pan vo plant y'w vetyddio ar ddydd Sul neu ddydd gwyl arall, e ddyle i ei tadau bedydd rybydd tros nos, neu y borau cyn dechrae y Vorevewl wedd, i'r Curat. Yno bot y tadau bedydd, a'r mamau bedydd, a'r bobyl yn barawt wrth y* ffons, yn aill ai yn y mann ar ol y Llith ddiwethaf o'r y Voreuol weddi, neu ynte y mann yn ol y Llith ddiwethaf ar Brynhawnol weddi, megis y gosono y Curat yn ol y ystyriaeth ef. Ac yn sefyll yno gofynnet yr Offeiriat, a veddyddiwyd y plant ai na veddyddwyt: as attebant na vo: yna dyweded yr Offeiriat val hynn.

*besydd vaen ai fan
*Vatydd diwyt

Vy caredigion, yn gimeint ac ymddiw yn a geni pop dyn* ym-pechot, a'bod eyn Iachawdr Christ yn dywedyd, na ddichon neb [vn] gael mynedd i deyrnas Duw, dyeithyr i ail eni ef o ddwfyr a'r yspryt glan atolwg i chwi alw ar Dduw tad trwy eyn Arglwydd Iesu Christ, yd y ny vo iddo oi ddaionus drugaredd ganiathau ir plant hyn (y peth drwy nerth natur ni allan ddyvod yddo) cael o hanynt i bedyddio a dwfyr ac a'r yspryt glan ai derbyn a lan Eccles Christ, a'bod yn aelodau bywiol* o'r vnrhyw.

*mewn
*yr

Yna y dywait yr Offeiriat.

Gweddiwn.

OLl-alluoc a'thragywyddol Dduw yr hwn o'th* drugaredd a gedwaist Noe a'i duylu yn* yr Arch rhac ei cyfyrgolli gan ddwfyr, a'hefyd* a dywysaist yn ddiangol blant yr Israel dy bobyl trwy'r mor coch, can arwyddocau wrth hynny dy lan vetydd. a'thrwy vetydd dy garedic vab Iesu Christ y* sancteiddiaist afon Iorddonen a'phob dwfyr arall, er dirgel olchedigaeth pechodau: Atolygwn y ty er dy aneirif drugareddau edrych o nanot yn drugaroc ar y plant hynn, eu sanctiddio hwy a'i glanhau* a'r yspryt glan, yd yddynt wy yn waredawc oddiwrth dy lid, gaffael i derbyn y Arch Eccles Christ, a'chan vod yn gedyrn mewn ffydd, yn llawenion* gan* obaith, a gwedi'r ymwreddio ynghariat perffaith, allu o hanynt bordwyaw dros donnau y byd trallodus hwn, ac or diwedd allu dyfod y dir y bywyd tragywyddawl, yno y deyrnasu gyda thi eb dranc na gorphen, trwy Iesu Christ eyn arglwydd. Amen.

*duyl-wyth
*y llong
*y arlwe-neist
*cyffe-creist

OLl alluawc ac *am-marwol Dduw, porth pob angenoc, nawddwr pawb a gilia atat am cynnorthwy, bywyt yr ei a credant, a'chyfodiat y meirw: ydd ym yn galw arnat tros yr ahi bychain hynn, yd yddynt wy yn dyfod ith lanbedydd, gael derbyn maddeuaint o'i pechodau drwy anedigaeth yspryttawl. derbyn hwy Arglwydd megis yr addewaist trwy dy garedig vab, gan ddywedyd, *Archwch a'chwi a gewch, caiswch a chwi a ddewch yddo, curwch, ac ef agorir ichwi. Velly yr awron dyro y ni a'ni yn erchi, par y ni gael a'ni yn ceisio, agor y porth i ni y sydd yn curo, val y gallo yr ai bychain hyn vwynhau tragwyddawl vendith dy nefawl olchiat, a'dyfod i'r deyrnas dragybythawl yr* hon a addewaist, trwy Christ eyn Arglwydd. Amen.

*dibarw

*gofyn wch

*hyn

Yna y dyweid yr Offeiriad, Gwrandewch ar eiriau yr Euangel a yscrifennod Saint Marc yn y decfed pennod.

YR amser hynny i ducesant * blant bychain at Christ, iddo ywo cyfwrdd: a'i discipulion a geryddent yr ei a'i ducesont. A phan weles yr Iesu [hynny] y digiawdd ac y dyfod wrthynt, Gedwch ir *ei bychain ddyfod attabi, ac na waherddwch hwy: can ys ir cyfryw * y mae teyrnas Duw. Yn wir dywedaf wrthych, Pwy bynnac ni dderbynnio deyrnas Duw megis *dyn bychan, nid aiff ef i mewn iddei. Ac wedi yddo eu cymeryd yn i vreichiau, ef a'osodes [ei] ddwylaw arnynt, ac ai bendithawdd.

Yn ol darllen yr Euangel, y tractha y Gwenidoc y cyngor byr hwn yma ar eiriau'r Euangel.

Y Caredigion, chwi glywch yn yr Euangel eiriau eyn Iachawdr Christ, yn gorchymyn dwyn plant ataw, * pa wedd y cerydd awdd ef yr ai a vynesynt ei cadw oddiwrthaw, pa wedd y cynghora ef i bawp dyn ddilyn ffordd y *gwirionedd hwy. Yd ychwi yn dyall wrth *y agwedd ef a'i weithred, modd y dangoses ei ewyllys da yddynt: can ys yddaw ei * costeidiaw yn i vrechiau, dodi ei ddwylaw arnynt, ai bendithiaw.

*bachynos

*plant

*bleu.

Nac* amhewch gan hynny, eithr credwch yn ddifri y cymer ef yr vn ffynut yn* ymgeleddgar yr ei bychian hyn yma, y cofleidia ef hwy a breichiau ei drugaredd. y dyry yddynt vendith y bywyt tragywyddol, ac y gwna wynt yn gyfranogion o ei ddidranc deyrnas. Erwydd paam a nyni yn credu val hyn am ewyllys da eyn tad or nef* tu ac at yr ai bychain hyn, wedy amlygu trwy ei vab Iesu Christ, ac eb ddim * aman y vod ef yn caniathau yn ewyllysgar ein gweithred, *gardodawl hon, * yn dwyn y plant hyn yw sancteidd vedydd ef: diolchwn yn ffyddlawn ac yn ddefosionol yddo, gan ddywedyd.

*ar dduedd ddolwto
*gariadol
*ar ddwyn

OLl alluawc a'thragywyddol Dduw, y nefol dad, ydd ym yn ystyngedic yn diolch y=ti bot yn deilwng genyt ein galw y wybodaeth dy rat, a'ffydd ynot: Angwanega y gwybodaeth hwn a'chadarnha y y ffydd hon ynom yn wastad, dyro dy yspryt glan ir ai bychain hyn, val y ganer hwy eilwaith, ai gwneuthyr yn etifeddion Iechyt tragywyddawl, trwy eyn Arglwydd Iesu christ, yr hwn sy yn byw ac yn teyrnasu y gyd a thi a'r yspryt glan yr awrhon ac yn tragybyth. Amen.

Yno bot i'r Offeiriat ddywedyt wrth y Tatev betydd a'r Mamaebetydd yn y modd hynn.

YCaredigion bobl, chwi ddugoch y plant hyn yma y'w bedyddiaw, chwi a weddiasoch ar bod yn deilwng gan eyn Arglwydd Iesu Christ y derbyn hwy, rroddi eu ddwylo arnynt, i bendithio, madae eu pechodat, rhoddi yddynt deyrnas nefoedd a'bwyt tragywyddawl. Chwi glywsoch hefyt dd'arfod y ein Arglwydd Iesu Christ addaw yn ei Euangel geniady yr oll bethau hyn a weddiaso=chwi am danynt: yr hwn addewit yfe o'i ran ai caidw yn wir ddiogel ac ei cwpla. Erwydd pa achos yn oll yr addewid hyn a wnaeth Christ rhaid yw ir ai bychain hyn yn ffyddlon ar i than hwythae addaw trywo chwi ys ydd yn * beichiae drostynt, ymwrthod a diabol a'i oll weithredoedd, ac yn wastad credu gynwydedic air Duw ac yn vfydd cadw ei orchmynnion.

*beichion:

Yna yr ymofyn yr Offeiriat a'r Tadeu betydd, a'r Mammau betydd yr ymofynnion hyn isod.

A Wyti yn ymwrthod a diabol ac ei oll weithredoedd coecrodres, a gwac* orfoledd y byd, ai oll chwantau cupyddus, anyspryddol ewyllys y cnawd, mal na ddylynych ac* na'th dywysir ganthynt?

*bolach
*arwenir

## Atep.

Ydd wyf yn ymwrthod a'hwynt oll.

Gwenidawc.

A Wyty yn credu yn Duw Tad oll gyvoethoc creawdyr nef a'daiar? Ac yn Jesu Christ i vn Mab ef eyn Arglwydd, ai* genedly o'r yspryt glan, ei eni o Vair* wyry, yddo diodef dan Pontius Pilatus, ei*roddi ar bren croc, ei varw, ai gladdu, descen o hanaw yffern ai gyfodi y trydydd dydd ac escen i'r nefoedd, ai vod yn eistedd ar ddeheulaw Duw tad oll gyvoethoc, ac o ddyno y daw y varnu byw a'meirw. A ywti yn credu yn yr yspryt glan, yr Eccles*lan Catholic, Commun y sainct, maddeuant pechodau, cyfodiad y cnawd, a'bywyt tragywythawl?

*yn nuw
*ymddwyn, enill
gabel

Atep.

Hyn oll ydd wyf yn ei gredu yn ddilys.

Gwenidoc.

A vynny dy veddyddio yn y ffydd hon?

Atep.

Hynny yw'o'ewyllys.

Yna ydywyid ar Offeiriat.

O Drugaroc Dduw, caniata velly gladdu yr hen Adda yn y plant hyn, val y cyfoter y dyn newydd ynthynt wy. Amen.

Caniata vot ir oll* chwante cnawdwol varw ynthynt, ac i bob peth a berthyn ir yspryt allu byw a *chynyddy ynthynt. Amen.

*lwnlae
*thrsu

*gorthrech — Caniata bod yddyn nerth a gallu i gael yr oruchafiaeth, a'* gorvot yn erbyn diavol, y byd, a'r cnawd, Amen.

*gwasanaeth — Caniata bod i bwy bynnac ysydd yma wedi'r gyssegru y-ty trwy eyn swydd a'n* gweinidogeth allu hefyt bod yn gynyscaeddol o rinweddau nefawl, a'bot yddynt ei tragwyddawl'obrwyau drwy dy drugaredd, bendigedic Arglwydd Dduw, yr hwn wyt yn byw ac yn llywiaw pop peth, yn oes oesoedd Amen.

OLl gyuoethoc bywsythol Dduw, 'rhwn y bu ith garedicaf vab Iesu Christ dros vaddeuant o'n pechode oddef gellwng oi werthfawr ystlys ddwfr a gwaed, a rhoddi gorchymyn yw ddiscipulion vyned a'dyscu pop cenedl, ai badyddio yn enw y tad, a'r mab, a'r yspryt glan: Ystyria atolwc y-ty wrth weddiae dy gynnulleidfa, 'chaniata bod i bawb oth* weision a betyddier yn y dwfr hwn, dderbyn cyflawnder* dy rat, ac aros byth yn nifer dy ffyddlon blant etholedic, trwy'r Iesu Christ eyn Arglwydd.

*oth

Yna y cymer yr Offeiriat y dyn bychan yn ei ddwylaw, ac y gofyn y enw, a'chan enwi y plentyn, ei drochi yn y dwfyr, a's bydd gwneu thyr hyny yn ddiescaelus ac yn ddarbodedig, gan dywedyd.

C. Yr wy vi yn dy vetyddiaw yn enw y Tat, a'r Map, a'r Yspryt glan. Amen.

Ac a bydd y dyn bychan yn wan, digon bydd bwrw dwr arnaw, gan ddywedyd y geiriau dywededic vchod.

C. Yr wy vi yn dy vetyddiaw yn enw y Tat, a'r Man a'r Yspryt glan.

*groes, neu arwydd y groc

Yna gwneuthur o'r Offeiriad* groc yn dyn bychan gan, ddywedd,



YDd ym ni yn derbyn y plentyn hwn i gynnulleidfa* deveid Christ, ac yn i* arwyddo ef ac arwydd y groc, yn arwyddoeat na bo iddo rhac llaw gymeryd yn gywilidd* gyffesu ffydd Christ wedi'r grogi, ac yddaw ymladd yn wrol dan i vaner ef yn erbyn pechot, y byd, a'r* cythrael, a'pharhau yn vilwr ffyddlawn ac yn was i Christ yn oll ddyddiau ei einioes. Amen.

*addef

*diauol

Yna dywaid yr Offeiriat.

GAn ddarfod yr owrhon, garedigion brodyr, ddadeni a*dodi y plāt hyn ynghorph cynnulleidfa Christ diolchwn ninau i Dduw am i ddaioni hyn, ac o gydundeb gwneuthyd yn gweddi ar y goruchaf Dduw, ar bod yddynt wy ddywedd y y rhan arall yw bywyd yn ol hyn o dechreuat.

*impio, phlannu

Yna y dywedir.

EYN tad yr hwn wyt yn y nefoedd. &c.

Yna y dywaid yr Offeiriat.

MAwr ddiolchwn y ty, drucarocaf dad, ryngu bodd yt, bot*ddadeni y plentyn hwn, ath yspryt glan, ai dderbyn yn blentyn dewisol y ty hun, ai gorphori ith gynnulleidfa sanctaidd: Ac yn ostyngedic ydd atolygwn y ty ganiatau, gan i bod ef yn barw o ran pechod, ac yn byw tu a chyfiawnder, ac* yn gladdedic gyd a Christ yn ei angau, allu crogi yr hen ddyn, ac yn ollawl ymwrthod ac oll corph pechot, a'megis y mae ef wedi'r wneythyd yn gyfranoc o angau dy vab, yddo bod yn gyfranoc oi gyfodidiad, ac velly or diwedd, y gyd ar ran arall oth sanctaidd gynnulleidfa bot o hanaw yn etifedd dy deyrnas dragywyddol: drwy Jesu Christ eyn Arglwydd.

*ail genebly, dadenill

*wedi gladdy

Ac yn y pen dywethaf, yr Offeiriat can alw y Tadau bedydd a'i Mannau betydd ynghyd, a ddywaid hyn o vyr athroeth ymaisod

YN gymaint a darbod i'r plant hynn add aw trywo-chwi, ymwrthod a diauol ai oll weithredoedd, credu yn Duw, a'i wasanaethu, rhaid ychwi*bedd wl mae eych rhan a'ch dlyet, yw, gwelet dyscu or plant hyn, ey glymet ac i gallont ddyscu, pa ryw hynot addunet, addewit, a'phroffes a wnaethant dry xo chwi. Ac er mwyn gallu o hanynt wybot hyn yn well, bot ych'wi'alw arn-

*gofio

